[redacted]



# The Book of Job

Translated by

William Morgan, D.D.

Oxford
J. G. EVANS, 7, CLARENDON VILLAS
London
HENRY FROWDE, AMEN CORNER, E.C.
1888

16 A ddaethost ti i waelod dyfnderoedd y
môr? ac a rodiaisti yng-hilfach y dyfnder:
17 A ddatcuddied pyrth marwolaeth i ti?
ac a welaist ti byrth cyscod angeu:
18 A ystyriaist ti ehangder y ddaiar: my-
nega os adwaenost ti y hi ei gyd.
19 Pa ffordd yr eir lle y trig goleuni? a pha
lê y mae lle tywyllwch:
20 Gan i ti ddeall hyn oi gwyr, a medru
llwybrau ei dŷ ef.
21 A wyddit ti yna y genid tydi: ac y by-
dde rhifedi dy ddyddiau yn fawr?
22 A aethost ti i drysorau'r eira: neu a we-
li di drysorau y cenllysc:
23 Y rhai a atteliais i hyd amser cyfyng-
der: hyd dydd ymladd, a rhyfel.
24 Pa ffordd yr ymranna goleuni? ac yr
ymwascar y dwyrein-wynt ar y ddaiar:
25 Pwy a rannodd dymhestlaw yn abero-
edd: ac a wnaeth ffordd i fellt a tharânau:
26 I lawio ar ddaiar lle ni byddo gŵr: a'r
anialwch yr hwn sydd heb ddŷn ynddo:
27 I gyflawni lle wedi ei ddifwyno, a lle
anrhaithiedic: ac i beri i gnŵd o las-wellt
dyfu?
28 A oes dad i'r glaw: neu pwy a genhed-
lodd ddefnynnau'r gwlith?

# LLYFR IOB.

YR oedd gŵr yng-wlâd Hus ai enw Iob: ac yr oedd y gŵr hwnnw yn berffaith, ac yn iniawn, yn ofni Duw hefyd, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni. Ac iddo ef y ganwyd saith o feibion, a thair merched. Ai olud ef oedd saith mîl o ddefaid, a thair mil o gamêlod, a phum cant iaû o ŷchen, a phum cant o assynnod, a llawer iawn o wasanaethyddion: ac yr oedd y gŵr hwnnw yn fwy na holl feibion y dwyrain. Ai feibion ef a aent, ac a wnaent wlêdd, pob vn [yn ei] dŷ [ar] ei ddiwrnod: anfonent hefyd, a gwahôddent eu tair chwiorydd i fwytta, ac i yfed gyd a hwynt.

B

A phan ddele dyddiau y wlêdd oddi amgylch, yna Iob a anfone, ac ai sancteiddie hwynt, cyfode hefyd yn foreu, ac offrymme boeth offrymmau [yn ôl] eu rhifedi hwynt oll, canys dywede Iob, fy meibion ond odid a bechasant, ac a felldithiasant Dduw yn eu calonnau: felly y gwnae Iob yr holl ddyddiau hynny. A'r dydd a ddaeth i feibion Duw ddyfod, a sefyll ger bron yr Arglwydd: a Satan hefyd a ddaeth yn eu plith hwynt. Yna 'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, o bale 'r ydwyt yn dyfod? a Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd, o amgylchu y ddaiar, ac o ymrodio ynddi. A dywedodd yr Arglwydd wrth Satan, a ddelaist ti sulw ar fyng-wâs Iob, nad [oes] gyffelib iddo ef ar y ddaiar? yn ŵr perffaith, ac iniawn yn ofni Duw, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni. Yna Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd: ai yn ddiachos y mae Iob yn ofni Duw? Oni chaeaist oi amgylch ef, ac o amgylch ei dŷ, ac yng-hylch yr hyn oll [sydd] eiddo ef oddi amgylch? [oni] fendith-

iaist waith ei ddwy-law ef, fel y cynnyddodd ei ddâ ef ar y ddaiar? Eithr estyn yn awr dy law, a chyffwrdd a'r hyn oll [sydd] ganddo: [i weled] oni felldiga efe di o flaen dy wyneb. Yna'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, wele'r hyn oll [sydd] eiddo ef yn dy law di, yn vnic yn ei erbyn ef ei hun nac estyn dy law: felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr Arglwydd. A'r dydd a ddaeth, pan oedd ei feibion ef ai ferched yn bwyta, ac yn yfed gwin yn nhŷ eu brawd hynaf, yna cennad a ddaeth at Iob, ac a ddywedodd: yr ŷchen oeddynt yn aredic, a'r assynnod oeddynt yn pori ger eu llaw hwynt, ond y Sabeaid a ruthrasant, ac ai dugasant ymmaith, y llangciau hefyd a darawsant hwy a mîn y cleddyf: a minne fy hunan a ddiengais yn vnic i fynegu i ti. Tra'r ydoedd hwn yn llefaru, yna arall a ddaeth, ac a ddywedodd, tân Duw a syrthiodd o'r nefoedd, ac a loscodd y defaid, a'r gweision, ac ai hyssodd hwynt: ond myfi fy hun a ddiengais yn vnic i fynegu i ti. Tra'r

ydoedd hwn yn llefaru, yna arall a ddaeth, ac a ddywedodd, y Caldeaid a ymosodasant yn dair byddin, ac a ruthrasant i'r camêlod, ac ai dugasant ymmaith, tarawsant hefyd y llangciau a min y cleddyf: a minne fy hun yn vnic a ddiengais i fynegu i ti. Tra'r ydoedd hwn yn llefaru, yna arall a ddaeth, ac a ddywedodd: dy feibion a'th ferched oeddynt yn bwyta, ac yn yfed gwîn yn nhŷ eu brawd hynaf, ac wele gwynt mawr a ddaeth oddi tros yr anialwch, ac a darawodd wrth bedair congl y tŷ, fel y syrthiodd efe ar y llangciau, ac y buant feirw: ond myfi fy hun yn vnic a ddiengais i fynegu i ti. Yna y cyfododd Iob, ac a rwygodd ei fantell, ac a eilliodd ei benn: syrthiodd hefyd i lawr, ac addolodd. Ac efe a ddywedodd, noeth y daethum o grôth fy mam, a noeth y dychwelaf yno, yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymmaith: bendigedic fyddo enw'r Arglwydd. Er hynny ei gyd ni phechodd Iob, ac ni roddodd efe [eiriau] ynfydion am Dduw.

A'R dydd a ddaeth i feibion Duw ddyfod i sefyll ger bron yr Arglwydd: a Satan hefyd a ddaeth yn eu plith hwynt i sefyll ger bron yr Arglwydd. Yna 'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, o ba le 'r ydwyt yn dyfod? a Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd, o amgylchu y ddaiar, ac o ymrodio ynddi. A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, a ddelaist ti sulw ar fyng-wâs Iob, nad [oes] gyffelib iddo ef ar y ddaiar? yn ŵr perffaith, ac iniawn, yn ofni Duw, ac yn cilio oddi wrth ddrygioni, ac yn parhau yn ei berffeithrwydd, er it fy annog i yn ei erbyn ef, iw ddifa ef heb achos? A Satan a attebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd: croen [arall] am [ei] groen [ei hun,] a'r hyn oll [sydd] gan ŵr a ddyru efe am ei enioes. Eithr estyn yn awr dy law, a chyffwrdd ai escyrn ef, ac ai gnawd: [i weled] oni felldîga efe dy di o flaen dy wyneb. A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan, wele ef yn dy law di: etto cadw ei hoedl. Felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr Arglwydd:

ac a darawodd Iob a chornwydydd drwg, o wadn ei droed hyd ei goryn. Ac efe a gymmerth gragen i ymgrafu â hi: ac yntef oedd yn eistedd yng-hanol y llwch. Yna ei wraig a ddywedodd wrtho, a wyt ti etto'n parhau yn dy berffeithrwydd? melldithia Dduw, a bydd farw. Ac efe a ddywedodd wrthi, lleferaist fel y llefare vn o'r rhai ynfydion, a dderbynnwn ni gan Dduw'r hyn sydd dda, ac heb dderbyn yr hyn sydd ddrwg hefyd? er hyn ei gyd ni phechodd Iob ai wefusau. Pan glybu tri chyfell Iob yr holl ddrwg ymma'r hwn a ddigwyddase iddo ef, yna y daethant bob vn oi fangre ei hun, [sef] Eliphaz y Themaniad, Bildad hefyd y Suhiad, a Zophar y Naamathiad: ac a ymgyfarfuant ynghyd i ddyfod i gyd-ofidio ag ef, ac iw gyssuro. Pan dderchafasant eu llygaid o bell, yna nid adnabuant ef, am hynny y derchafasant eu llef, ac yr ŵylasant: rhwygasant hefyd bob vn ei fantell, a thanasant lwch ar eu pennau tua yr nefoedd. Felly hwynt a eisteddasant gyd ag ef ar y ddaiar saith

niwrnod, a saith noswaith: ac nid oedd [neb] a ddywede air wrtho ef, canys gwelent fwyhau ei ddolur ef yn ddirfawr.

WEdi hynny Iob a agorodd ei enau, ac a felldigodd ei ddydd. Canys Iob a lefarodd, ac a ddywedodd, Darfydded am y dydd i'm ganwyd ynddo: a'r nôs y dywedwyd, fe a ennillwyd gŵr. Bydded y dydd hwnnw yn dywyllwch, [a] Duw oddi vchod heb ei ystyried, ac na thywynned llewyrch arno. Ond tywyllwch, a chyscod marwolaeth ai halogo ef, ac arhosed cwmwl arno ef: gwnelont ef mor erchill a'r diwrnod chwerwaf allan. Cymmered niwl y nôs honno, na chydier hi a dyddiau y flwyddyn: ac na ddeued hi i rifedi y misoedd. Bydded y noswaith honno yn vnic: ac na fydded gorfoledd ynddi. A'r rhai a felldigant [eu] dydd, ac sy barod i gyffroi eu galar ai mellndithio hi. A bydded sêr ei chyfddydd hi yn dywyll, disgwilied hi am oleuni, ac na [ddeued ddim:] ac na chaffed hi weled y wawr ddydd. Am na chaeodd hi ddryssau croth fy [mam,] ac

na chuddiodd hi ofid oddi wrth fy llygaid. Pa ham na bum farw [wrth ddyfod] o 'r bru? [na] threngais [pan] ddaethum allan o 'r groth? Pa ham y derbynnodd glinniau fyfi? a pha ham [y cefais] fronnau i sugno? O herwydd [oni buase hynny] yn awr mi a gawswn orwedd, a gorphywys [a] huno, yna [y buase] llonyddwch i mi, gyd a brenhinoedd, a chynghor-wŷr y ddaiar y rhai a adailadasant iddynt eu hunain [fannau] anghyfannedd. Neu gyd a thywysogion [ac] aur ganddynt: y rhai a lanwasant eu tai ag arian. Neu [pa ham] na 'm cuddiwyd fel erthyl? [neu] megis plant bychain heb weled goleuni? Yno yr annuwolion a beidiant ai cyffro: ac yno y gorphywys y rhai lluddedic o nerth. Y rhai a gyd garcharwyd a gaent [yno] lonydd, [ac] ni chlywant lais y gorthrymmudd. Bychan a mawr [sydd] yno: a 'r gwâs yr hwn a ryddhauwyd oddi wrth ei feistr. Pa ham y rhoddir goleuni i 'r hwn sydd mewn llafur? a bywyd i 'r rhai gofidus? Y rhai sy 'n disgwil am farw-

olaeth ac heb ei [chael,] er cloddio o honynt am dani hi yn fwy nac am dryssorau cuddiedic. Y rhai a lawenychant mewn hyfrydwch: ac a orfoleddant pan gaffant y bedd. [Pa ham y roddir goleuni] i'r gŵr yr hwn y mae ei ffordd yn guddiedic? ac y caeodd Duw arno? O blegit o flaen fy mwyd y daw fy vchenaid: a'm rhuadau a dywelltir megis dyfroedd. Canys yr hyn a ofnais a ddaeth attafi: a'r hyn a arswydais a ddigwyddodd i mi. Ni bum lonydd na difraw, ac ni orphywysais: er hynny daeth cynnwrf [arnaf.]

YNa Eliphaz y Themaniad a attebodd, ac a ddywedodd: Pe profem ni [ddywedyd] gair ŵrthit ti a fydde blîn gennit ti? ond pwy a all attal [ei] ymadroddion? Wele ti a ddyscaist lawer, ac a siccrheaist ddwylo wedi llaesu. Dy ymadroddion di a godasant i fynu yr hwn oedd yn llithro: a thi a nerthaist y gliniau y rhai oeddynt yn cammu. Blin gennit ti am ddyfod [hyn] i ti'n awr: cyffroaist [pan] gyffyrddwyd a thi. Onid

[dymma] dy ofn di, dy hyder di, dy obaith di, a pherffeithrwydd dy ffyrdd di? Cofia atolwg pwy [ac] efe 'n ddiniwed a gollwyd? a pha lê y torrwyd y rhai iniawn ymmaith? Hyd y gwelais i, y rhai a arddent oferedd, ac a hauent flinder, ai medent. Gan anadl Duw y difethid hwynt, a chan chwythad ei ffroenau ef y darfyddent hwy. Rhuad llew, a llais llewes, a dannedd cenawon llewod a dynnwyd. Y llew a fethodd o eisieu sclyfaeth: a chenawon y llew mawr a wascarwyd. Ac attafi y dygwyd gair yn ddirgel: am clust a dderbynniodd ychydig o honaw. Ym mhlith meddyliau [yn dyfod] o weledigaethau y nôs: pan syrthio trym-gwsc ar ddynion: ofn a ddaeth arnaf, a dychryn: ac a wnaeth i'm holl escyrn grynu. A'r gwynt a aeth heibio o flaen fy wyneb: ac a wnaeth i flew fyng-nhawd sefyll yn hyll. Efe a safodd, ac nid adwaenwn ei agwedd ef, drychiolaeth [oedd efe] gyferbyn a 'm llygaid: ac yn ddistaw mi a glywais y llef [ymma.] A fydd dŷn yn

gyfiawnach na Duw? a fydd gŵr yn burach nai wneuthur-wr? Wele yn ei wasanaeth-wŷr ni chafodd efe ffyddlondab: ac yn erbyn ei angelion y gosododd efe ynfydrwydd. Pa faint mwy y rhai ydynt yn trigo mewn tai o glai, y rhai [sy] ai sail mewn pridd? y rhai a falurir yn gynt na gwyfyn? O'r borau hyd hwyr y coethir hwynt, difethir hwynt yn dragywydd heb [neb] yn ystyried. Onid aeth eu rhagoriaeth hwy gyd a hwynt ymmaith? hwy a fyddant feirw, ac nid mewn doethineb.

GAlw yn awr, a oes [neb] yn atteb i ti? ac at bwy o'r sainct y troi di? Canys digllondeb a ladd yr ynfyd, a chenfigen yr annoeth. Mi a welais yr ynfyd yn gwreiddio: ac a felldithiais ei drigfa ef yn ddisymmwth. Ei feibion ef a bellhauir oddi wrth iechydwriaeth: dryllir hwynt hefyd yn y porth, ac ni bydd gwaredudd. Yr hwn y bwyttu y newynog ei gynhaiaf, wedi iddo ei gymmeryd ef o blith drain: a'r sychedic a ŷf eu cyfoeth hwynt. Canys ni ddaw

trueni allan o 'r pridd, ac ni flagura gofid allan o'r ddaiar. Ond dŷn a aned i flinder, fel yr eheda gwreichionen yn vchel. Etto myfi a ymgynghorwn a Duw: ac a Duw yr ymddiddanwn. Yr hwn sydd yn gwneuthur pethau mawrion, anchwiliadwy, rhyfeddol heb rifedi. Yr hwn sydd yn rhoddi glaw ar wyneb y ddaiar: ac yn danfon dyfroedd ar wyneb yr heolydd. Gan osod rhai isel mewn vchelder: fel y derchefir y galârus [i] iechydwriaeth. Yr hwn sydd yn diddymmu amcannion y cyfrwys: fel na wnelo eu dwylo hwynt ddim a ffrwyth ynddo. Yr hwn sydd yn dal y doethion yn eu cyfrwysdra: fel y byddo ynfyd cyngor y rhai dichellgar. Lliw dydd y cyfarfyddāt â thywyllwch, a hwy a balfalant am ffordd hanner dydd, megis lliw nos. Yr hwn hefyd a achub yr anghenog rhac y cleddyf, rhac eu genau hwy, a rhac llaw y cadarn. Felly y mae efe yn obaith i 'r tlawd, ond anwiredd a gaeodd ei safn. Wele gwyn ei fyd y dŷn a geryddo Duw, am hynny na ddiystyra ger-

ydd yr Holl-alluog. Canys efe a glwyfa, ac a feddiginiaetha: efe a friw, ai ddwylaw ef a iachânt. Mewn chwech o gyfyngdêrau efe a'th wared ti: ac yn y seithfed ni chyffwrdd drwg a thi. Mewn newyn efe a'th wared ti oddi wrth farwolaeth: ac mewn rhyfel oddi wrth fin y cleddyf. Rhac ffrywill tafod i'th guddir: ac ni ofni rhac dinistr pan ddelo. Mewn dinistr, a newyn y chwerddi: ac ni ofni rhac bwyst-filod y ddaiar. Canys a cherrig y maes y [bydd] dy ammod ti: a bwystfil y maes hefyd fydd heddychol i ti. A thi a gei ŵybod [y bydd] heddwch [yn] dy luest: a phan ymwelech a'th drigfa ni phechi. A chei ŵybod hefyd mai lluosog [fydd] dy hâd: a'th hiliogaeth megis gwellt y ddaiar. Ti a ddeui mewn henaint i'r bedd: fel y codir yscafn yn ei hamser. Wele ni a chwiliasom hyn, [ac] felly [y mae] efe: gwrando hynny, a gwybydd di er dy fwyn dy hun.

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd: O gan bwysso na phwyssid fy nigllondeb: ac na chydgodent fy-nhrychineb

mewn clorian. Canys yn awr trymmach fydde na thyfod y môr: am hynny y pallodd fyng-eiriau. O herwydd [y mae] saethau'r Holl-alluog ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy yspryd: dychrynfâu Duw a ymfyddinasant i'm herbyn. A rûa assyn wyllt vwch benn glas-wellt? a frêf ŷch vwch benn ei borthiant? A fwyteir peth diflas heb hâlen? a oes flâs ar wynn ŵy? [Y pethau] a wrthododd fy enaid eu cyffwrdd, y rhai hynny gan ofid [ydynt] yn lle bwyd i mi. O na ddeue fy nymuniad, ac na rodde Duw'r hyn yr ydwyfi yn ei ddisgwil. O [na] ddechreue Duw fy nryllio, na ollynge efe ei law yn rhydd, ac na'm torre fi ymmaith. Yna cyssur a fydde etto (er fynghaledu mewn clefyd heb [fy] arbed) na chelais ymadroddion y sanctaidd [Dduw.] Pa nerth [sydd] i mi i barhau? a pha ddiwedd [fydde] i mi pe estynnwn fy hoedl? Ai [fel] cryfdwr cerrig [y mae] fynghryfdwr? a ydyw fyng-nhawd o brês? Onid [y dyw] fy amdeffyn gennifi? a fwriwyd rheswm ymmaith oddi wrthif,

yn erbyn yr hwn y toddwyd [ei] drugaredd oddi wrth ei gyfell, ac a adawodd ofn yr Holl-alluog? Fy mrodyr [a'm] twyllasant megis afon: aethant heibîo fel llifeiriant afonydd: y rhai a ddûasant gan rew: ac yr ymguddiodd eira ynddynt: mewn amser hwy a redant, [ac] hwy a dorrir ymmaith: pan wresogo [yr hîn] hwy a ddarfyddant allan oi lle: llwybrau eu ffordd hwynt a giliant: dringant hefyd i wagedd, a hwy a gollir. Y rhai a aent i Thema a edrychasant: y rhai a deithient i Saba a ddisgwiliasant am danynt hwy. Hwynt a gywilyddiwyd am obeithio [ynddynt:] hwynt a ddaethant hyd yno, ac a wladeiddiasant. Felly yn awr diau nad [ydych chwi y rhai] oeddych: chwi a welsoch ddychryn, ac a ofnasoch. A ddywedais i, dygwch i mi? ac o'ch ffrwyth chwi rhoddwch roddion trosofi? Neu gwaredwch fi o law y gelyn: a rhyddhewch fi o law y cedyrn. Dyscwch fi, ac myfi a dawaf: a gwnewch i mi ddeall [ym] mha beth y dywedais yn amryfus. Mor gryfion ydyw geiriau

iniondeb: ond pa beth a argyoedda argyoeddiad [vn] o honoch chwi? Ai argyoeddu ymadroddion a amcenwch chwi? fel [y bydd] geiriau [dŷn] truan megis gwynt. Chwi a ruthrwch hefyd am benn yr ymddifad, ac a gloddiwch yn erbyn eich cyfaill. Eithr yn awr byddwch fodlon, edrychwch arnafi: canys ni ddywedaf gelwydd 'och blaen chwi. Dychwelwch attolwg, na fydded anwiredd [ynoch]: îe troiwch etto [cewch weled] fyng-hyfiawnder yn hyn. A oes anwiredd yn fy nhafod? oni ddeall taflod fyngenau gamwedd?

ONid amser terfynedic [sydd] i ddŷn ar y ddaiar? ai ddyddiau ef megis dyddiau gwâs cyflog? Megis y dyheûa gwâs am gyscod: ac y disgwil cyflog-ddyn [ddiwedd] ei waith: felly y gwnaethpwyd i mi feddiannu misoedd o oferedd: a nosweithiau o boen a osodwyd i mi. Os gorweddwn, yna y dywedwn, pa bryd y codaf, ac yr ymedu y nos? canys caf ddigon o ymdroi hyd y cyfddydd. Fyngnhawd a wiscodd bryfed, a llwch pridd-

lyd: fyng-hroen a agennodd, ac a aeth
yn ffiaidd. Fy nyddiau oedd gynt na
gwennol gwehydd: ac a ddarfuant heb
obaith. Cofia mai gwynt [ydyw] fy
hoedl: ni ddychwel fy llygad i weled
daioni. Y llygad a'm gwelodd ni'm gwel
[mwyach: dy lygaid ti [ydynt] i'm her-
byn fel na [byddwyf] i [mwyach.] [Fel]
y derfydd cwmwl, ac yr aiff ymmaith:
felly'r hwn fydd yn descyn i'r bedd ni
ddaw i fynu [mwyach.] Ni ddychwel
mwy iw dŷ: ai lê ni's edwyn ef mwy.
Gan hynny ni orafunaf i'm genau, mi a
lefaraf yng-hyfyngdra fy yspryd: myfi a
gŵynaf gan ofid fyng-halon. Ai môr
ydwyf, ai morfil, gan dy fod yn gosod
cadwrieth arnaf? Pan ddywedwn fyng-
wely am cyssura: fyng-orweddfa a es-
mwythâ oherwydd fy myfyrdod: yna
ti a'm brawychit a breuddwydion: ac
a'm dychrynit â gweledigaethau. Am
hynny y dewise fy enaid ymdagu: [a]
marwolaeth yn fwy na'm hoedl. Ffieidd-
iais [enioes,] ni byddafi byw byth: paid
a mi, canys oferedd [ydyw] fy nydd-

iau. Pa beth [ydyw] dŷn pan fawrheit ef? a phan osodit dy feddwl arno ef? Ac ymweled ag ef bob borau? ai brofi ef ar bob moment? Pa hŷd [y byddi] heb droi oddi wrthif, ni adewi fi yn llonyd tra llyngcwyf fy mhoeryn. Myfi a bechais, beth a wnaf i ti, ô geidwad dŷn, pa ham y gosodaist fi yn nôd i ti: fel y byddwyf yn faich i mi fy hun? A pha ham na faddeui di fyng-hamwedd, ac na fwri heibio fy anwiredd? canys yn awr yn y pridd y gorweddaf, a thi a 'm ceisi yn forau, ond ni 'm [ceir.]

YNa Bildad y Suhiad a atebodd, ac a ddywedodd: Hyd pa hŷd y dywedi di hynny: ac [y bydd] geiriau dy enau yn wynt cryf? A ŵyra Duw farn? ac a ŵyra 'r Holl-alluog gyfiawnder? Os dy feibion a bechasant yn ei erbyn ef: am hynny y gollyngodd efe hwy i feddiant eu camwedd eu hun. Os tydi a foreu-godi at Dduw, ac a wedii ar yr Holl-alluog, os pur, ac iniawn [fyddi] di, yn wîr efe a ddeffru attat ti yr awron, ac a wna drigfa dy gyfiawnder yn llwydd-

iannus. Er bod dy ddechreuad yn fychan : etto dy ddiwedd a gynnydda yn ddirfawr. O blegit gofyn attolwg i'r oes gyntaf, ac ymbaratôa i chwilio eu henafiaid hwynt. Canys [er] doe 'r ydym ni, ni ŵyddom [ddim,] o herwydd cyscod [yw] ein dyddiau ni ar y ddaiar. Onid hwynt a 'th ddyscant di, oni ddywedant i ti? ac [oni] ddygant ymadroddion allan oi calon. A gyfyd brŵyn heb wlybanieth? a dyf gwairglodd heb ddwfr? Tra fyddo hi etto yn ei ffrwyth heb ei thorri, y gwywa hi o flaen pôb glas-welltyn. Felly [y mae] llwybrau pawb a 'r sydd yn gollwng Duw dros gof: ac y derfydd am obaith y rhagrhithiwr. Yr hwn y torrir ymmaith ei hyder: ac [fel] tŷ pryf-coppyn [y bydd] ei obaith ef. Efe a bwyssa ar ei dŷ, ac ni saif: efe a ymeifl ynddo, ac ni pheru. Y mae efe [fel pren] îr o flaen yr haul: a thros ei ardd y daw ei frig. Plethir ei wraidd ef yng-hylch ffynnon, [o amgylch] tŷ cerrig y trŷ efe. Os diwreiddia efe allan oi lê : efe ai gwâd ef [gan ddywedyd,] ni 'th welais. Wele

dymma y modd y llawenycha efe: sef gallu o honaw flaguro mewn pridd arall. Wele ni ddiystyra Duw y perffaith: ac nid ymeifl efe yn llaw y rhai drygionus, oni lanwo efe dy enau di a chwerthin: a'th wefusau o orfoledd. [Oni] wiscer dy gasedigion di â chywilydd, fel na byddo lluestŷ 'r annuwiol.

AC Iob a atebodd, ac a ddywedodd, Yn wîr mi a wn mai felly [y mae:] canys pa fodd y cyfiawnheuir dŷn, [o chydystyrir ef] a Duw? Os myn efe ymryson ag efo: nid ettŷb iddo ef [am] vn [peth] o fil. Y mae efe yn ddoeth o galon, ac yn alluog o nerth: pwy a galedodd [ei galon] yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd? Yr hwn sydd yn symmud mynyddoedd: heb wybod iddynt: yr hwn sydd yn eu dymchwelyd hwynt yn ei ddigofaint. Yr hwn sydd yn cynhyrfu y ddaiar allan oi lle: fel y cryno ei cholofnau hi. Yr hwn a ddywed wrth yr haul, ac ni chyfyd: ac a selia ar y sêr. Yr hwn sydd yn tanu y nefoedd yn vnic: ac yn sathru ar donnau y môr. Yr hwn sydd yn gwneuthur Arc-

turus, Orion, a Phleiades, ac stafelloedd y dehau. Yr hwn sydd yn gwneuthur [pethau] mawrion anchwiliadwy: a rhyfeddodau anneirif. Wele efe aiff trosofi, ac nis gwelaf: ac efe a aiff heibio, ac ni chanfyddaf mo honaw. Wele efe a sclyfaetha, pwy a wna iddo dalu? pwy a ddywed wrtho ef, pa ham y gwnei di [felly?] Ni thrŷ Duw ei ddigllonedd ymmaith: tano ef y crymmwyd cynhorthwywŷr balchder. Pa feint llai 'r attebaf iddo ef? [ac] y gallaf ddewis fyng-eiriau [iw dywedyd] wrtho ef? I 'r hwn pe bawn cyfiawn nid atebwn, eithr ymbiliwn a 'm barn-wr. Os galwn, a phe atebe efe i mi, ni chredwn y gwrandawe efe fy lleferydd. Yr hwn a 'm dryllia a chor-wynt: ac a amlhâ fy archollion yn ddi-achos. Ni ddioddef efe i mi gymmeryd fy anadl attaf: canys efe a'm lleinw a chwerwder. Os am gadernid, wele ef yn gadarn: ac os am gyfraith, pwy a ddadleua trosofi? Os myfi a ymgyfiawnhaf fyng-enau a 'm barn yn euog: [os] perffaith [y cymmerwn i arnaf fy mod] efe a 'm barn fi yn

drofaus. [Pe byddwn berffaith [etto] nid adwen i fy enaid : ffiaidd gennif fy enioes. Dymma vn peth, am hynny y dywedais : y mae efe yn difetha y perffaith fel yr annuwiol. Er lladd o honaw ef a ffrywyll yn ddisymmwth : a watwar efe am benn cospedigaeth rhai diniwed? Y ddaiar a roddwyd yn llaw 'r annuwiol, efe a fwrw hûg dros wynebau ei barn-wŷr hi : onid ê, pa le [y mae efe? a] phwy [yw efe a ddengys y gwrthwyneb?] A'm dyddiau mau fi fuant gynt na rheddeg-wr : ffoasant heb wêled daioni. Aethant heibio [megis] gyd a llongau buan : megis yr eheda eryr at ymborth. Os dywedaf, gollyngaf fyng-hŵyn dros gof : mi a adawaf fy nigllondeb, ac a gryfhâf. [Yna yr] ofnaf fy holl ddoluriau : gwn na 'm berni yn wirion. [Os] euog fyddaf : pa ham yr ymflinaf felly yn ofer? Os ymolchaf mewn dwfr eira : ac [os] glanhaf fy nwylaw yn lân : yna di a'm trochi mewn pwll : a'm dillad a 'm drewant. Canys nid gŵr fel myfi [ydyw yr hwn] ymae yn rhaid i mi atteb iddo ef, [pan] ddelom yng-hyd i'r farn.

Nid oes rhyngom ni gryf ddyd diwr yr hwn :] a osodo ei law arnom ein dau. Tynned ymmaith ei wialen oddi arnaf : ac na ddychryned ei ddychryn ef fi. Yna y dywedaf, ac nid ofnaf ef : canys nid ydwyfi felly ynof fy hûn.

MArw ydwyf er fy mod yn fyw : arnaf fy hun y gadawaf fyng-hŵyn, ac yn chwerwder fy enaid y llefaraf. Dywedaf wrth Dduw, na farna fi yn euog : gwna i mi ŵybod pa ham yr ymrysoni a mi. Ai dâ i ti orthrymmu, a diystyru llafur dy ddwylaw ? a llwyddo cyngor yr annuwolion ? Ai llygaid o gnawd sy i ti ? ai fel y gwêl dŷn y gweli di ? A ydyw dy ddyddiau di fel dyddiau dŷn ? [a ydyw] dy flynyddoedd di fel blynyddoedd gŵr ? Pan geisi fy anwiredd : a phan ofynni am fy mhechod ? Ti a ŵyddost nad ydwyf euog : ac nid [oes] a waredo allan o'th law di. Dy ddwylaw di a'm gweithiasant, ac am cyd-wnaethant o amgylch : gan hynny a ddifethi di fi ? Cofia attolwg mai fel clai y gwnaethost fi : ac i'r pridd y dygi fi drachefn. Oni thywelltaist fi fel

llaeth? ac oni cheulaist fi fel caws? Ti a'm gwiscaist i â chroen, ac â chnawd: ti a'm cyssylltaist fi ag escyrn, ac â giau. Bywyd, a thrugaredd a ddarperaist i mi, a'th ymgeledd a gadwodd fy yspryd. A'r rhai hynny a guddiaist di yn dy galon: [er hynny] gwn fod hyn [mewn côf] gennit. O phechais, ti a'm gwiliaist: ac ni'm glanhei oddi wrth fy anwiredd. Os ydwyf annuwiol gwae fi, ac os cyfiawn ydwyf [er hynny] ni chodaf fy mhen, [yr ydwyf morr] llawn o warthrudd, ac yn gweled fyng-hystudd. Cynnydded [fyng-hystudd,] hêla fi fel llew: er hynny ti a ddychweli, ac a wnei yn rhyfedd a mi. Yr wyt ti yn adnewyddu dy dystion i'm herbyn, ac yn amlhau dy ddigofaint wrthif: llawer, ac amryw [ddialeddau yddynt] arnaf. Pa ham gan hynny y dygaist fi allan o'r gro'th: [ô na] buaswn farw, fel na'm gwelse llygad. [O na] byddwn megis pe na buaswn: [ac na'm] ducsid o'r bru i'r bedd. Ond ychydig [yw] fy nyddiau, peidied, cilied oddi wrthif: fel y cryfhauwyf ychydig. Cyn

myned o honof lle ni ddychwelaf, i dîr tywyllwch a chyscod angeu. Tîr cyn dywylled a'r fagddu, [ac a] chyscod angeu, ac heb drefn: lle y mae y goleuni fel y tywyllwch.

A Zophar y Naamathiad a attebodd, ac a ddywedodd: Oni attebir yr aml o eiriau? ac a gyfiawnheuir gŵr siarâdus. Ai dy gelwyddau a wnânt i wŷr dewi? a phan watwarech oni bydd a'th wradwyddo? Canys dywedais, pur [ydyw] fy nysceidieth: a glân ydwyf yn dy olwg di. Ond ô na lefare Duw: ac [nad] agore efe ei wefusau yn dy erbyn, a mynegu i ti ddirgeledigaethau doethineb, mai dau cymmeint wrth gyfiawnder [a haeddaist]: cydnebydd gan hynny i Dduw dy anghofio di am dy anwiredd. A gei di ddyfnder [doethineb] Duw? a gei di berffeithrwydd yr Holl-alluog? Uwch na'r nefoedd [ydyw efe,] beth a wnei di? dyfnach nag vffern [yw efe,] pa fodd yr adweini di ef? [Mae] ei fesur ef yn hwy na'r ddaiar: ac yn llêd na'r môr. Os tyrr efe ymmaith, os carchâra efe:

os cascla efe yng-hyd, pwy ai dychwel ef? Canys efe a edwyn ofer ddynnion: ac a wêl anwiredd, oni ddeall efe gan hynny? Dŷn gwag er hynny a gymmer arno ei fod yn ddoeth: er geni dŷn fel llwdn assyn wyllt. Os dydi a baratoi dy galon, ac a estynni dy ddwylaw atto ef. Od oes ddrygioni yn dy law, bwrw ef ymmaith ym-mhell: ac na ddioddef i anwiredd drigo yn dy luestai, canys yna y codi dy wyneb o'r brychau: y byddi hefyd safadwy, ac nid ofni: eithr ti a ollyngit ofid dros gôf: fel dyfroedd [y rhai] a aethant heibio y cofiit [ef.] Dy oedran hefyd a dderchafe vwch law [haul] hanner dydd: llewyrchit [a] byddit fel y boreu-ddydd. Hydêrus fyddit hefyd, canys bydde gobaith: pan gloddit luestfa y gorweddit mewn diogelwch. Yna ti a ellit orwedd, ac ni [bydde a 'th] ddychrynne: a llawer a ymbilient a 'th wyneb. Llygaid yr annuwolion a ddeffygiant, metha ganddynt ffoi: ai gobaith [fydd] gofid calon.

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd, Diau mai chwychwi [sy] bobl: a

chyd a chwi y bydd marw doethineb. Eithr [y mae] gennifi ddeall fel chwithau: nid ydwyfi waeth na chwithau, a phwy ni ŵyr y fath bethau a hyn? Yr ydwyf [fel vn a fydde] yn watworgerdd iw gyfell, yr hwn a eilw ar Dduw, ac efe ai hettyb: gwatworgerdd [yw] y cyfiawn [a'r] perffaith. Pentewyn diystyr ym meddwl y llwyddiannus [yw] 'r hwn sydd barod i lithro oi draed. Luestai heddychol sydd i yspeil-wŷr, a diogelwch i'r rhai sydd yn cyffroi Duw: y rhai a gyfoethogodd Duw ai law. Ond gofyn yn awr i'r anifeiliaid, a hwynt a'th ddyscant, ac i ehediad yr awyr, a hwy a fynegant i ti. Neu ddywet wrth y ddaiar, a hi a'th ddysc: a physcod y môr a yspysant i ti. Pwy ni ŵyr am y rhai hyn oll, mai llaw 'r Arglwydd ai gwnaeth hwy? Yr hwn [y mae] enioes pob peth byw yn ei law: ac anadl pob mâth ar ddŷn. Onid y glust a ddirnad ymadroddion, a'r genau a archwaetha ei fwyd? Doethineb [sydd] mewn henuriaid: a deall mewn hîr ddyddiau. Gyd ag ef [y mae] doethineb, a chadernid:

cyngor, a deall [ydynt] eiddo ef. Wele efe a ddestruwia, ac nid adailedir: efe a gae ar ŵr, ac nid agorir arno. Wele efe a attal y dyfroedd, a hwy a sychant: efe ai denfyn hwynt, a hwy a ddifethant y ddaiar. Gyd ag ef y mae nerth a doethineb: efe piau y twylledic, a 'r twyllodrus. Efe sydd yn gwneuthur i gynghoriaid fyned yn anrhaith: ac efe a ynfyda farn-wŷr. Efe sydd yn datod rhwym brenhinoedd: ac yn rhwymo gwregis am eu lwynau hwynt. Efe sydd yn gwneuthur i dywysogion fyned yn anrhaith: ac a blyga y rhai cedyrn. Efe sydd yn dwyn ymadrodd yr araithwŷr: ac yn dwyn synnwyr y rhai hên. Efe sydd yn tywallt diystyrwch ar dywysogion: ac yn gwanhaû y rhai cryfion o nerth. Efe sy yn dadcuddio [pethau] dyfnion allan o dywyllwch: ac yn dwyn cyscod angeu allan i oleuni. Efe sydd yn amlhau y cenhedloedd, ac efe ai destruwiau hwynt: efe sydd yn ehangu ar y cenhedloedd, ac efe ai dwg hwynt [i gyfyng-dra.] Efe sydd yn dwyn calon pennaethiaid pobl y

ddaiar: ac efe a wna iddynt hwy fyned ar gyfrgoll mewn gwag-le heb ffordd. Hwynt a balfalant â thywyllwch, ac nid â goleuni: ac efe a wna iddynt hwy gyfeiliorni fel meddwyn.

WEle fy llygad a welodd [hyn] oll: fyng-hlust a glywodd, ac ai deallodd. Mi a wn yn gystal a chwithau, nid ydwyf waeth na chwithau. Yn wîr myfi a lefaraf wrth yr Holl-alluog: ac yr ydwyf yn chwennychu ymrysymmu a Duw. Ond rhai yn iassio celwydd [ydych] chwi: meddygon diddim ydych chwi oll. Oh gan dewi na thawech: a [hynny] a fydde i chwi yn ddoethineb. Clywch attolwg fyng-herydd: a gwrandewch ar reswm fyng-wefusau. A ddywedwch chwi anwiredd tros Dduw? ac a ddywedwch chwi dwyll er ei fwyn ef? A dderbynniwch chwi ei wyneb ef: a ymrysonwch chwi tros Dduw? Ai da [fydd hyn] pan chwilio efe chwi? a dwyllwch chwi ef fel twyllo dyn? Gan geryddu efe a'ch cerydda chwi: os derbynniwch chwi wyneb yn ddirgel. Oni

ddychryna ei ardderchawgrwydd ef chwi? ac oni syrth ei arswyd ef arnoch? Cyffelyb i ludw [ydyw] eich coffadwriaeth chwi: a'ch cyrph chwi i gyrph o glai. Tewch yn fyng-ŵydd i fel y llefarwyf inne: a deued arnaf yr hyn [a ddelo.] Pa ham y cymmeraf fyng-nhawd a'm dannedd? ac y gosodaf fy enaid yn fy llaw? Pe lladde efe fi, mi a obeithiwn ynddo ef: er hynny fy ffyrdd fy hun a argyoeddaf ger ei fron ef. Hefyd efe [sydd] yn iechydwriaeth i mi: canys ni ddaw rhagrithiwr yn ei ŵydd ef. Gan wrando gwrandewch fy ymadrodd: ac [ystyrwich a fynegwyf i'ch clustiau. Wele yn awr paratoais farn: gwn i'm cyfiawnheûir fi. Pwy ydyw ['r hwn] a ymryson a mi? canys yn awr [os] tawaf mi a drengaf. Ond dau [beth] na wna di i mi: yna nid ymguddiaf rhagot. Pellhâ dy law oddi arnaf: ac na ddychrynned dy ddychryn fi. Galw yna, ac myfi a atebaf: neu myfi a lefaraf, ac atteb di fi. Pa faint o gamweddau, ac o bechodau sy yn ôl? par di i mi adnabod fyng-ham-

wedd a'm pechod. Pa ham y cuddi di dy wyneb? ac y cyfrifi di fi yn elyn i ti? A ddrylli di ddeilen escwydedic? a ymlidi di soflun sych? Canys yr wyt ti yn scrifennu pethau chwerwon yn fy erbyn: ac yn gwneuthur i mi feddiannu [cosp] camweddau fy ieuengctid. Ie yr ydwyt ti yn gosod fy nhraed mewn cyffion, ac yn gwilied fy holl lwybrau: [ac] yn peri [i'r cyffion] ymnoddi am fy fferau. A'r cyfryw vn megis pydrni a heneiddia, fel dilledyn yr hwn a yssa gwyfyn.

DYN [yr hwn] a aned o wraig [sydd] fyrr o ddyddiau, a llawn o hebbul. Fel blodeun y daw allan, ac y torrir ef ymmaith: ac efe a gilia fel cyscod, ac ni saif. A agori di dy lygaid ar y fath ymma? ac a ddygi di fi i gyfraith a thi? Pwy a rydd [beth] glân o [beth] aflan? neb. Ond [ydyw] ei ddyddiau ef wedi eu rhac-derfynu? rhifedi ei fisoedd ef [ydynt] gyd a thi: [os] gwnaethost ei derfynau fel nad el efe trostynt, trô oddi wrtho ef fel y gorphywyso, oni orphenno efe yn ewyllyscar ei ddydd fel gwâs cyflog.

Canys y mae gobaith i bren er ei dorri y blagura efe etto: ac na phaid ei frig ef [a-thyfu.] Os heneiddia ei wreiddin ef yn y ddaiar: ac [os] marweiddia ei foncyff ef yn y pridd, efe a flagura oddi wrth arogl dyfroedd: ac a fwrw ganghennau fel planhigin. Ond gŵr a fydd marw, ac a dorrir ymmaith: a dyn a drenga a pha le y [bydd] efe? [Fel] y mae dyfroedd yn myned allan o'r môr: ac afon yn myned yn ddiyspydd, ac yn sychu: felly gŵr a orwedd ac ni chyfyd, ni ddihunant, ac ni ddeffroant oi cwsc hyd oni byddir heb nefoedd. O na osodit fi mewn bedd, [na'm] cuddit fi hyd oni throit dy lid ymmaith: [na] osodit ti derfynniad i mi, a'm cofio. Os bydd gŵr marw, a fydd efe byw [drachefn?] disgwiliaf holl ddyddiau fy milwriaeth hyd oni ddelo fyng-hyfnewidiad. Gelwi, ac myfi a'th attebaf: hiraethi am waith dy ddwylaw. Canys yr awr hon y rhifi fyng-hamreu: nid oedi [gosp] am fy mhechod. Fyng-hamwedd a selied mewn côd: a thi a chwanegaist ar fy

anwiredd. Ac yn wir mynydd yr hwn a syrthio a ddiflanna: a chraig a symmudir oi lle. Dyfroedd a dreuliant gerric, ti a godi trwy lifeiriant [o] bridd y ddaiar ei chnwd hi, yr hwn sydd yn tyfu o hono ei hun: felly 'r wyt ti yn gwneuthur i obaith dŷn golli. Yr wyt ti yn ei orchfygu ef yn dragywydd, fel yr elo efe ymmaith: ac yr wyt ti yn ei ddanfon ef i ffordd gan newidio ei wyneb ef. Ei feibion ef a gyfoethogi, ac nis gwybydd efe: a hwy a dlodir, ac ni ŵyr efe oddi wrthynt hwy. Ond ei gnawd tra [fyddo] efe arno a ddoluria, ai enaid a alara [tra fyddo] ynddo ef.

YNA Eliphaz y Themaniad a attebodd, ac a ddywedodd, A ettyb [gŵr] doeth wybodaeth o wynt? ac a leinw efe ei fol a dwyrein-wynt? A argyoedda efe a gair [yr hwn] ni fuddia? ac ag ymadroddion [y rhai] ni wna efe lessâd â hwynt. Yn ddiau ti a dorraist ymmaith ofn: yr ydwyt yn attal [dy] weddi [oddi] ger bron Duw. Canys dy enau sy yn dangos dy anwiredd: gan i ti

ddewis tafod y rhai dichellgar. Dy enau sydd yn dy fwrw yn euog, ac nid myfi: a'th wefusau sydd yn testiolaethu yn dy erbyn. A aned tydi yn gyntaf dŷn? a lunied tydi o flaen y brynnau? A glywaist ti gyfrinach Duw? ac a atteli di ddoethineb gyd a thi? Beth a ŵyddost ti ar na's gwyddom ni? [beth] a ddealli di heb fod hynny hefyd gennym ninnau? Y mae yn ein mysc ni hên, ac oedrannus hefyd: hynach o oedran na'th dâd ti. Ai bychan gennit ti ddiddanwch Duw? neu a oes dim yn ddirgel ynot ti? Pa beth sydd yn dwyn dy feddwl oddi arnat? a pha ham yr amneidia dy lygaid? Gan i ti droi dy feddwl yn erbyn Duw: a dwyn y [fath] eiriau allan o'th enau? Pa beth [yw] dŷn i fod yn bûr: a'r hwn a aned o wraig i fod yn gyfiawn? Wele ni chafodd efe ffyddlondeb yn ei sainct: a'r nefoedd nid ydynt bûr yn ei olwg ef. Pa faint mwy ffiaidd, a drewedic [ydyw] dŷn, yr hwn sydd yn yfed anwiredd fel dyfroedd? Dangosaf i ti, gwrando arnaf: a'r hyn a welais a fynegaf. Yr hyn y mae gwŷr

doethion yn ei fynegu: ac nid ydynt hwy yn celu [yr hyn a gawsant] gan eu henafiaid. I'r rhai hynn y rhoddwyd y ddaiar yn vnic: ac ni ddaeth alltud yn eu plith hwy. Holl ddyddiau'r annuwiol y bydd efe yn ymofidio: a [thros] rifedi y blynyddoedd y rhai a guddiwyd oddi wrth y cadarn. Llais ofnadwy [sydd] yn ei glustiau ef: mewn heddwch y daw y dinistrudd atto ef. Ni chrêd efe ddychwelyd allan o dywyllwch: canys y mae efe yn canfod y cleddyf. Y mae efe yn crwydro am fara lle [y byddo:] efe a ŵyr fod dydd tywyllwch yn barod wrth ei law. Cystudd, a chyfyngdra ai brawycha ef: [ac] ai gorchfyga ef fel brenin parod i ryfel. Canys efe a estynnodd ei law yn erbyn Duw: ac yn erbyn yr Holl-alluog yr ymnerthodd efe. Efe a rêd yn y gwddf iddo ef: trwy dewdwr torrau ei dariannau. Canys tôdd efe ei wyneb ai frasder: ac a wnaeth dyrch [o floneg] ar [ei] dynewyn. A thrigodd mewn dinasoedd wedi eu dinistrio, [a] thai anghyfanneddol: y rhai oeddynt barod [i fod]

yn garneddau. Ni chyfoethoga efe, ni pheru ei olud ef ychwaith: ac nid ymestyn eu perffeithrwydd hwy ar y ddaiar. Nid ymedu efe allan o dywyllwch, y fflam a wywa ei frig ef: ac efe a ymedu trwy yspryd ei enau ef. Ni chrêd [yr hwn] a dwylled drwy oferedd, mai oferedd fydd ei obr ef. Efe a dorrir ymmaith cynn ei ddydd: ai gangen ni lassâ. Efe a ddihidla ei rawn surion fel gwinwydden: ac a fwrw ei flodeun fel oli-wydden. Canys cynnulleidfa rhacrith-wŷr *sydd* vnic: a thân a yssa luestai gwobr-wŷr. O herwydd eu bol hwy a ddarpare dwyll, gan ymddwyn gofid, ac escor ar anwiredd.

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd, Clywais fel hyn lawer [gwaith:] cyssur-wŷr gofidus [ydych] chwi oll. Oni [cheir] diwedd ar eiriau ofer? neu pa beth sydd yn dy gryfhau di i atteb? A ddywedwn i fel chwithau, pe bydde eich enaid chwi yn lle fy enaid i, a gydiwn i â chwi mewn geiriau? a escydwn i fy mhen arnoch chwi? Mi a'ch cyssurwn chwi a'm genau: a symmudiad fyng-

wefusau a luddie [eich gofyd.] Os llefaraf i, nid esmwythâ fy nolur: ac os peidiaf, nid llai fyng-ofid. Ond yn awr efe a'm blinodd i: anrheithiaist fy holl gynnulleidfa. A chroen-grychu o honot fi oedd yn destiolaeth: fyng-hulni a gododd yn fy erbyn, efe a destiolaetha yn fy wyneb. Ei ddigllondeb ef [a'm] rhwygodd, ac efe am gwrthwynebodd, efe a escyrnygodd ai ddannedd arnaf: fyng-wrthwynebwr a flaenllymmodd ei lygaid yn fy erbyn. Hwy a ledasant ei safnau yn fy erbyn, tarawsant fyng-hernau yn ddremygus: ymgasclasant yng-hyd yn fy erbyn. Duw a'm caeuodd gyd a'r anwir: ac a'm trôdd i ddwylo'r annuwolion. Yr oeddwn yn oludog, ond efe a'm cystuddiodd, ac a ymaflodd yn fyng-wddf, ac a'm drylliodd yn chwil-friw: ac a'm cododd fi yn nôd iddo ei hun. Ei saethyddion ef sy yn fy amgylchu, y mae efe yn hollti fy arennau, ac nid ydyw efe yn arbed, y mae efe yn tywallt fy mustl ar y ddaiar. Y mae efe yn fy rhwygo a rhwygiad ar rwygiaid: y mae efe

yn rhedeg yn fy erbyn fel cawr. Gwnîais sachlen ar fyng-hroen: ac halogais fyng-horn mewn pridd. Fy wyneb sy cyn futtred a'r clai gan ŵylo: a chyscod marwolaeth [sydd] ar fy amrantau, er nad [oes] gam yn fy nwy-law: a [bod] fyng-weddi yn bûr. O ddaiaren na orchguddia di fyng-waed: ac na fydded lle i'm gwaedd. Wele hefyd yn awr fy nhŷst yn y nefoedd: a'm testiolaeth-ŵr yn yr vchelder. Fyng-hyfeillion [ydynt] gymmen [i'm herbyn:] fy llygad a ddiferodd [ddagrau] wrth Dduw. [O na] chai gŵr ymrysymmu a Duw, fel mab dŷn ai gyfaill. Canys [fy] ychydig flynyddoedd a ddaethant: ac mi a rodiaf lwybr [ar hyd yr hwn] ni ddychwelaf.

Fy chwythad a lygrwyd, fy nyddiau a ddiffoddwyd, beddau [sy] barod i mi. Onid gwatwar-wŷr [ydynt] gyd a'm fi? a'm llygad sydd yn aros yn eu chwerwedd hwynt. Caniadhâ atolwg gyd-fachnio a mi: pwy [ydyw] efe [a] deru ei law yn fy llaw i? Canys cuddiaist eu calon hwynt oddi wrth ddeall: am

hynny ni dderchefi di [hwynt.] Yr hwn a ddywed weniaith iw gyfeillion, llygaid ei feibion ef a ballant. Yn ddiau efe a'm gosododd yn ddihareb i'r bobl, fel y byddwn yn watwargerdd oi blaen hwynt. Am hynny y crychodd fy llygad gan ddigllonedd: [y mae] fy aelodau oll fel cyscod. Y rhai iniawn a synnant am hynn: a 'r diniwed a ymgyfyd yn erbyn y rhagrithwŷr. Yna y cyfiawn a ddeil ei ffordd: a'r glân ei ddwylaw a chwanega gryfdwr. Ond dychwelwch chwithau oll, a deuwch atolwg: ac ni chafi [ŵr] doeth yn eich plith chwi. Fy nyddiau aethant heibio, fy amcannion a dynned ymmaith: [a] meddyliau fyng-halon. Gosodant nos liw dydd, a'r goleuni cyfagos yn dywyllwch. Er a ddisgwiliaf, y bedd [fydd] tŷ i mi: mewn tywyllwch y cyweiriaf fyngwely. Gelwais ar y pwll, ty di [yw] fynhad: [ac] ar y pryf, fy mam a'm chwaer [wyt.] A pha lê yn awr [y mae] fyngobaith? pwy hefyd a genfydd fyng-oglud? [Fyng-obaith] a ddescyn gyd a mi i'r bedd: cyd-orphywyswn yn y llŵch.

A Bildad y Suhiad a attebodd, ac a ddywedodd, Pa [bryd] y derfydd eich ymadrodd? ystyriwch, wedi hynny ninneu a lefarwn. Pa ham y cyfrifed nyni fel anifeiliaid? [ac] yr ydym aflan yn eich golwg chwi? O yr hwn sydd yn rhwygo ei enaid yn ei ddigllondeb, ai er dy fwyn di y gadewir y ddaiar? neu y symmudir craig allan oi llê? Goleuni'r annuwolion a ddiffoddir yn hytrach: a gwreichionen ei dân ef ni lewyrcha. Goleuni a dywylla yn ei luestŷ ef: ai lusern a ddiffydd gyd ag ef. Camrau ei gryfdwr ef a gyfyngir: ai gyngor ei hun ai bwrw ef i lawr. Canys efe a ddanfonir i'r rhwyd erbyn ei draed: ac ar faglau y rhodia efe. Magl a ymeifl yn ei sodl [ef:] gwilliad fydd trêch nag ef. Hoenyn a guddied iddo ef yn y ddaiar: ai ddalfa ar y llwybr. Braw sydd yn ei frawychu ef o amgylch: ac yn peri iddo ef gymmeryd ei draed. Ei gryfdwr ef a fydd newynog: a thrueni [fydd] parod wrth ei ystlys. Efe a yssa ei gryfdwr ei hun: angeu a fwytu ei gryfdwr ef. Ei hyder ef a dynnir

allan oi luestŷ: a [hynny] ai harwain ef at frenin dychrynniadau. [Arall] a drig yn ei luest ef, [canys] nid yr eiddo ef [ydyw:] brwmstan a wascerir ar ei drigfa ef. Ei wraidd ef a sychant oddi tanodd, ai frig ef a dorrir oddi arnodd. Ei goffadwriaeth ef a gollir o'r ddaiar, ac ni [bydd] enw iddo ef ar wyneb yr heol. Efe a wthîr allan o oleuni i dywyllwch: efe a yrrir allan o'r bŷd. Ni [bydd] iddo ef fab, nac ŵyr ym mysc ei bobl: ac ni bydd [vn] wedi adel yn fyw yn ei drig-fannau ef. Y rhai olaf a ryfeddasant o herwydd ei ddydd ef: a'r rhai blaenaf a gawsant fraw. Yn wîr dymma drigleoedd yr anwir: ac dymma lê [y dŷn] nid edwyn Dduw.

AC Iob a atebodd, ac a ddywedodd, Pa hyd y cystuddiwch fy enaid? ac y blinwch fi â geiriau? Deng-waith i'm gwradwyddasoch, ac nid cywilydd gennych ymgaledu o honoch i'm herbyn. Hefyd pe [bydde] wîr bechu o honofi yn amryfus: gyd a mi y trige fy amryfusedd. Yn wîr os ymfawrygwch yn fy erbyn, ac

[os] dannodwch fyng-wradwydd i mi, gwybyddwch yn awr mai Duw a'm rhwystrodd i, ac a'm rhwydodd. Os llefaf [rhac] trawster ni'm attebir: [os] gwaeddaf ni [chaf] farn. Efe a gaeodd fy ffordd fel nad elwyf trosodd: wele y mae efe yn gosod tywyllwch ar fy llwybrau. Efe a ddioscodd fyng-ogoniant oddi am danaf: ac a ddygodd ymmaith goron fy mhen. Y mae efe yn fy nestruwio oddi amgylch ac yr ydwyf yn myned ymmaith: ac efe a symmudodd fyng-obaith fel [diwreiddio] pren. Gwnaeth hefyd iw ddigofaint gynneu yn fy erbyn: ac a'm cyfrifodd iddo ei hun fel [vn oi] elynnion. Ei dorfoedd ef a ddaethant yng-hyd: ac a balmãtasant eu ffyrdd yn fy erbyn: ac a werssyllasant o amgylch fy mhabell. Efe a bellhâodd fy mrodyr oddi wrthif: y rhai oeddynt yn fy adnabod hefyd a ymddieithriasant oddi wrthif. Fyng-hyfnesaf a beidiasant [a mi,] a'r rhai oedd o'm cydnabod a'm anghofiasant. Y rhai oedd yn trigo yn fy nhŷ, a'm morwynion sy'n fyng-hyfrif

yn ddieithr: alltud ydwyf yn eu golwg hwy. Gelwais ar fyng-wasanaeth-wr, ac nid attebe efe, ac ymbiliais ag ef a'm genau. Dieithr oedd fy anadl i'm gwraig: er ymbil o honof [a hi] er mwyn fy mhlant cnawdol. Plant hefyd a'm diystyrant: [pan] godwyf, dywedant i'm herbyn. Fy holl gyfrinach-wŷr sy'n fy ffieiddio: a'r rhai a gerais a droesant yn fy erbyn. Fy escyrn a lynodd wrth fyng-hroen ac wrth fyng-nhawd: â chroen fy nannedd yn vnic y diengais i. Trugarhewch wrthif, trugarhewch wrthif chwychwi fyng-hyfeillion: canys llaw Dduw a gyffyrddodd a mi. Pa ham yr ydych chwi yn fy erlid i fel Duw? heb gael digon ar fyng-nhawd? Oh nad yscrifennid fyng-eiriau yn awr: ô na orgrephid hwynt mewn llyfr. Oh nad scrifennid hwynt mewn carreg dros byth: a phin o haiarn, ac a phlwm. Ond myfi a wn fod fy mhryn-wr yn fyw ac y cyfodir o'r diwedd ar y ddaiar. Ac wedi gwisco fyng-hroen hwn y caf fi weled Duw yn fyng-nhawd. Yr hwn a gaf fi fy hun ei weled: a'm llygaid ai

gwelant [ef] ac nid arall: [wedi] i'm arennau ddarfod ynof. Eithr chwi a ddylech ddywedyd, pa ham yr erlidiwn ef? canys gwreiddin gair a gaed ynof. Ofnwch am danoch rhac y cleddyf, canys [y mae] digofaint yn erbyn anwireddau y cleddyf: fel y gwybyddech [fod] barn.

YNa Zophar y Naamathiad a attebodd, ac a ddywedodd: Am hynny y mae fy meddyliau yn peri i mi atteb: ac am [hynny] y [mae] brys arnaf. Yr ydwyf yn clywed cerydd gwradwyddus gennif: ond y mae yspryd fy neall yn peri i mi atteb. A wyddost ti hyn er ioed? er pan osododd [Duw] ddŷn ar y ddaiar? Mai gorfoledd yr annuwolion [sydd] dros ychydig [amser:] a llawenydd y rhagrithwŷr dros funud awr. Pe cyrhaedde ei odidawgrwydd ef i'r nefoedd: a phe chyffyrdde ei benn ef a'r wybren, efe a gollir yn dragywydd fel ei dom: y rhai ai gwelant ef a ddywedent, pa le y mae efe? Efe a eheda megis breuddwyd, fel na-cheir ef: ac efe a ffŷ fel gweledigaeth y nos. Y llygad ai gwelodd

ef ni chwanega [ei weled :] ai lê ni chenfydd ef mwy. Ei feibion ef a fodlonant dlodion : ai ddwy-law ef a roddant adref ei olud ef. Ei escyrn ef sy 'n llawn [o bechod] ei ieuengctid : a hwnnw a orwedd gyd ag ef yn y pridd. Os bydd drygioni yn felus yn ei enau ef : efe a gêla hwnnw dan ei dafod. Efe a arbed hwnnw, ac ni âd efe hwnnw : eithr efe a attal hwnnw o fewn taflod ei enau. Ei fwyd a drŷ yn ei emyscaroedd ef : bustl aspiaid [fydd] oi fewn ef. Efe a lyngcodd gyfoeth, ond efe ai chwda : Duw ai tynn allan oi fol ef. Efe a sugna wenwyn aspiaid : tafod gwiber ai lladd ef. Ni chaiff efe edrych ar ffrydau, afonydd, [ac] aberoedd o fêl, ac ymenin. Y mae efe yn rhoddi llafur adref heb ei fwynhau : fel golud a gyfnewidie efe, ac heb gael llawenydd o honaw. Canys drylliodd, a gadawodd dlodion : sclyfaethodd dŷ, ac nid adailadodd efe hwnnw. O blegit nid adnabu efe [ddim] heddychol oi fewn : ni ddiangc efe ai ddymuniad [ganddo.] Ni [bydd dim] gweddill oi fwyd ef : am

hynny ni ddisgwiliir am ei dda ef. Pan gyflawnir ei ddignoldeb ef, cyfyng [fydd] arno: llaw pob blinderoc a ddaw yn ei erbyn ef. [Pan] fyddo efe ar lenwi ei fol, Duw a ddenfyn yn ei erbyn ef angerdd ei ddigofaint: ac ai glawia [hi] arno ef ym mysc ei fwyd ef. Efe a ffŷ oddi wrth arfau o haiarn: bŵa o ddûr ai trywana ef. Efe a dynn [gleddyf,] a [hwnnw] a ddaw allan oi gorph ef, a gloiw-lafn allan oi fustl ef: [felly] y daw dychryn arno ef. Pob tywyllwch [a fydd] guddiedic yn ei ddirgeloedd ef, tân heb ei chwythu ai hyssa ef: yr hyn a weddillir yn ei luestŷ ef a ddrygir. Y nefoedd a ddatcuddiant ei anwiredd ef: a'r ddaiar a gyfyd yn ei erbyn ef. Ffrwyth ei dŷ ef a symmud: hwy a redant i ffordd yn nydd ei ddigofaint ef. Dymma ran dŷn annuwiol gan Dduw: a'r etifeddiaeth [yr hon a gaiff] efe gan Dduw am ei ymadrodd.

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd: Gan wrando gwrandewch fy ymadrodd: a bydd hyn [yn] lle eich cyssur [i mi.] Dioddefwch fi, a minne a lefaraf:

ac wedi i mi ddywedyd, gwatwar dithe. A ydwyfi [yn gwneuthur] fyng-hŵyn wrth ddyn? ac os [ydwyf,] pa ham na bydd cyfyng ar fy yspryd? Edrychwch arnaf, a synnwch: a gosodwch [eich] llaw ar [eich] genau. Eithr pan gofiwyf [fy hun,] yna y synna arnaf: a dychryn a ymeifl yn fyng-nhawd. Pa ham y mae 'r annuwolion yn byw, yn heneiddio, ac yn cryfhau [mewn] cyfoeth? Eu hâd hwy [sydd] safadwy oi blaen gyd â hwynt: ai hiliogaeth yn eu golwg hwynt. Eu tai hwynt [sy mewn] heddwch allan o ofn: ac nid [ydyw] gwialen Duw arnynt hwy. Y mae ei darw ef yn cyfloi, ac ni chyll ei hâd: ei fuwch ef a fwrw lô yn rhwydd, ac nid erthyla hi. Danfonant allan eu rhai bychain fel defaid: ai bechgyn a neidiant. Cymmerant dympan a thelyn: a llawenychant wrth lais organ. Treuliant eu dyddiau mewn daioni: ac yn ebrwydd descynnant i'r bedd. Dywedant hefyd wrth Dduw, cilia oddi wrthym: canys ni fynnwn adnabod dy ffyrdd di. Pa beth [ydyw] 'r Holl-alluog fel y gwas-

anaethem ef? a pha fudd [fydd] i ni pan weddiom arno ef? Wele nid [ydyw] eu ffynniant hwy yn eu llaw eu hun: pell fyddo cyngor yr annuwolion oddi wrthif fi. Pa sawl gwaith y diffydd cannwyll yr annuwolion, ac y daw eu dinistr arnynt hwy? [ac] y rhanna [Duw] ofidiau yn ei ddig? Byddant hwy fel gwellt o flaen gwynt? ac fel mân-us yr hwn a gippia y corwynt. Duw a guddia ei anwiredd iw feibion: [ac] efe a dâl iddo fel y gwypo. Ei lygaid ef a welant ei ddinistr ei hun: ac efe a ŷf o ddigofaint yr Holl-alluog. Canys pa wynfyd sydd ganddo ef yn ei dŷ ar ei ôl, pan gwttogir rhifedi ei fisoedd ef. A ddysc dyn ŵybodaeth i Dduw? gan ei fod yn barnu y rhai vchaf? Y naill sydd yn marw yn ei gyflawn berffeithrwydd: ac efe ei gyd yn esmwyth, ac yn heddychol. Ei gelyrnau ef sy yn llawn llaeth: a mêr ei escyrn ef [ydynt] îraidd. A'r llall [sydd] yn marw mewn blinder: ac ni fwytâdd mewn hyfrydwch. Hwynt a orweddant yng-hŷd yn y pridd:

a 'r pryfed a doant trostynt hwy. Wele mi a adwen eich meddyliau: a 'r bwriadau 'r ydych chwi yn eu dychymmygu ar gam yn fy erbyn. Canys dywedwch, pa lê [y mae] tŷ y pendefig? a pha lê [y mae] lluestŷ anneddau 'r annuwolion? Oni ofynnasoch chwi i 'r rhai oeddynt yn myned heibio rhyd y ffordd: ac oni chydnabyddwch chwi eu harwyddion hwy? Canys yn nydd trueni yr attelir y drygionus: yn nydd cynddaredd y dygir hwynt allan. Pwy a fynega ei ffordd ef yn ei ŵydd ef? pwy a dâl iddo ef fel y gwnaeth? Yntef a ddygir i 'r bedd, ac a erys mewn twrr [o bridd.] Y mae priddellau y dyffryn yn fêlus ganddo ef, ac efe a dynn bob dŷn ar ei ôl: megis [yr aeth] oi flaen [rai] aneirif. Pa fodd gan hynny y cyssurwch fi ag oferedd: canys camwedd a adawed [yn] eich atebion chwi?

YNA Eliphaz y Themaniad a attebodd, ac a ddywedodd: A wna gŵr lessâd i Dduw? iddo ei hun yn hytrach y gwna y synhwyrol lessâd. Ai digrifwch

[ydyw] i 'r Holl-alluog pan ymgyfiawn-
hech? neu ai êlw [ydyw] pan berffeithiech
di dy ffyrdd? Ai rhac dy ofn y cerydda efe
dydi: [neu] yr aiff efe gyd â thi i farn?
Onid ydyw dy ddrygioni di yn aml? ac
heb ddiwedd ar dy anwireddau? Canys
cymmerit ŵystl gan dy frodyr yn ddi-
achos: a dioscit ddillad y rhai noethion.
Ni roddit ddwfr iw yfed i 'r lluddedic: a
thi a attelit fara oddi wrth y newynoc.
Y ddaiar hefyd oedd eiddo y gŵr cadarn:
yr anrhydeddus a drige ynddi. Dan-
fonit ymmaith wragedd gweddwon yn
wag-law: a breichiau y rhai ymddifaid a
ddryllit ti. Am hynny [y mae] maglau
o 'th amgylch: ac y mae ofn yn dy
ddychrynu di yn ddisymmwth: neu
dywyllwch rhac gweled o honot: a llawer
o ddyfroedd a 'th orchguddiant. Onid
[ydyw] Duw yn vchelder y nefoedd?
gwel hefyd benn y sêr mor vchel ydynt
hwy. A ddywedi di gan hynny, pa fodd
y gŵyr Duw? a farn efe drwy dywyllwch?
Y cwmylau [ydynt] loches iddo ef, ac
ni wêl: ac y mae efe yn rhodio [ar]

gylch y nefoedd. A ystyriaist ti lwybr y byd, yr hwn a sathrodd ofer-wŷr [arno?] Y rhai a dorrwyd pan nid [oedd] eu hamser hwynt: afon a dywalltwyd ar eu sylfaen hwy. Hwynt a ddywedasant wrth Dduw, cilia oddi wrthym: a pha beth a wnaeth yr Holl-alluog iddynt hwy? Ac efe a lanwase eu tai hwy o ddaioni: am hynny pell [fyddo] cyngor yr annuwolion oddi wrthifi. Y rhai cyfiawn a welant, ac a lawenychant: a 'r diniwed ai gwatwar hwynt. Gan na thorred ymmaith ein sylwedd ni: ac yssu o 'r tân eu gweddill hwy. Ymarfer attolwg ag ef, a bydd heddychlon: o hyn y daw i ti ddaioni. Cymmer y gyfraith attolwg oi enau ef: a gosot ei eiriau ef yn dy galon. Os dychweli at yr Holl-alluog ti a adailedir: os symmudi anwiredd ym mhell oddi wrth dy luestai. Gosodi [aur] mor aml a 'r pridd: ac [aur] Ophir fel callestr yr afonydd. A 'r Holl-alluog fydd yn amddeffyn i ti: a thi a gei amldra o arian. Os yna 'r ymhoffi yn yr Holl-alluog:

tithe a dderchefi dy wyneb at Dduw. Ti a weddii arno ef, ac efe a 'th wrendu di: tithe a dêli dy addunedau. Pan ragluniech di beth, efe a sicrhâ [hynny] i ti: a goleuni a lewyrcha ar dy ffyrdd. Pan ostynger hwynt yna y dywedi, [caf] oruchafiaeth: canys efe a achub y gostyngedic [ei] olwg. Y diniwed a wareda yr ynys: a thrwy lendid dy ddwylaw di y gwaredir hi.

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd: Er bod fy ymadrodd heddyw yn chwerw: [a] bod fy nialedd yn drymmach na 'm vchenaid, oh nas adwaenwn, ac [nas] cawn ef: *fel* y deuwn at ei eisteddfa ef. Dadleuwn ger ei fron ef: a llawnwn fyng-enau a rhesymmau. Mynnwn ŵybod [a pha] eiriau i 'm hattebe: a mynnwn ddeall pa beth a ddywede efe wrthif. A ymrysône efe â mi ag helaethrwydd [ei] gadernid? na [wnai:] ond efe a osode [nerth] ynof. Yno 'r iniawn a ymrysymme ag ef: ac mi a ddiangwn byth gan fy marn-wr. Wele [os] ym mlaen yr âf nid ydyw efe

[yno: os] yn ôl hefyd, nid ydwyf yn ei ganfod ef. [Os] ar y llaw asswy lle y mae efe yn gweithio ni chanfyddaf [ef:] [os] ar y llaw ddehau, y mae efe yn ymguddio, fel na chaf [ei] weled. Ond efe a edwyn fy ffordd, y mae efe yn fy mhrofi, myfi a âf allan fel aur. Fy nhroed a ddilyn ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni ŵyrais. Nid ydwyf ychwaith yn cilio oddi *wrth* orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef yn fwy n'am harferol [ymborth.] Y mae efe hefyd yn vn [air,] a phwy ai trŷ ef? y mae ei enaid ef yn chwennychu, ac efe a gyflawna. Canys efe a gyflawna'r hyn a orchymynnodd efe am danafi: ac [y mae] ganddo ef lawer o'r fath bethau a hyn. Am hynny y dychrynais rhag ei ofn ef: ystyriais, ac ofnais rhagddo ef. Canys Duw a feddalhâodd fyng-halon: a'r Holl-alluog a'm dychrynodd. O herwydd na thorrwyd fi ymmaith o flaen tywyllwch: ac [na] chuddiodd efe niwl o'm gŵydd.

PA ham na chuddid yr amseroedd gan yr Holl-alluog? fel nas rhacwele y rhai ydynt yn ei adnabod ef ei ddyddiau ef? Y mae [rhai] yn symmudo terfynau: yn sclyfaethu defaid, ac yn ymborthi [arnynt.] Y maent yn gyrru assynnod yr ymddifad ymmaith: maent hwy yn cymmeryd ŷch y wraig weddw ar wystl. Maent hwy yn gwneuthur i'r anghenog droi allan o'r ffordd: [am hynny] tlodion y ddaiar a gyd-lechasant [rhagddynt.] Wele y maent [fel] assynnod gwylltion yn yr anialwch, yn myned allan iw gwaith gan geisio sclyfaeth yn foreu: y diffaethwch [sydd yn dwyn] iddynt fwyd, [ac] iw plant. Medant y maes yr hwn nid yw eiddynt: a gwin-llan yr annuwiol a gasclant hwy yn ddiweddar. Gwnant [i'r] tlawd leteu yn noeth heb ddillad: ac heb wisc mewn oerni. Gwlychant gan lifeiriant mynyddoedd: ac o eisieu diddosrwydd cofleidiant graig. Tynnant yr ymddifad oddi wrth y fron: cymmerant wystl gan y tlawd. Gwnaethant [iddo ef] fyned yn

noeth heb ddillad: a dygasant ddyrneidiau [lloffa] y rhai newynog. Y rhai sy yn gwneuthur olew rhwng eu parwydydd: [ac] sy yn sathru y cafnau gwîn ydynt yn sychedic. Y mae gwŷr yn griddfan o 'r dref: ac y mae eneidiau y rhai lladdedic yn gweiddi, ac ni esid Duw ddial. Y rhai hynny sy ym mhlith y rhai ydynt yn gwrthwynebu goleuni, nid ydynt hwy yn adnabod ei ffyrdd ef: nid ydynt yn aros yn ei lwybrau ef. Gyd a 'r goleuad y cyfyd y lleiddiad, ac y lladd efe y tlawd, a 'r anghenog: a 'r nôs y bydd efe fel lleidr. A llygad y godineb-wr sydd yn gwilied y cyfnos gan ddywedyd, ni chaiff llygad fyng-weled: ac efe a esyd hûg ar ei wyneb. Y maent hwy yn cloddio trwy dai mewn tywyllwch: [y rhai] a nodasent iddynt eu hunain liw dydd, nid adwaenent hwy oleuni. Canys cyscod marwolaeth [ydyw] y borau iddynt hwy eu gyd: dychryn cyscod marwolaeth [yw] os gwybydd [neb.] Yscafn ydyw ['r anuwiol] ar wyneb y dyfroedd, melltigedic ydyw eu rhan-dir hwŷ ar y ddaiar: ni thrŷ efe

ei wyneb [at] ffordd y gwin-wŷdd. Fel y mae sychdwr, a gwres yn cippio dyfroedd eira: [felly y cippia] y bedd [y rhai] a bechasant. Y tosturiol ai gollwng ef dros gof, melus gan y pryf ef, ni chofiir ef mwy: felly y dryllir anwiredd fel pren. Y mae efe yn dryllio yr amhlantadwy [yr hon] ni phlanta: ac nid ydyw efe yn gwneuthur daioni i 'r wraig weddw. Ac y mae efe yn tynnu rhai cedyrn wrth ei nerth: [pan] gododd efe nid oedd [neb] ddiogel oi enioes. Er rhoddi iddo fod mewn diofalwch; etto [y mae] ei lygaid ef ar eu ffyrdd hwy. Hwyntwy a dderchafwyd ychydig, ac a ddarfuant hefyd, hwynt a ostyngwyd, ac a escydwyd i lawr fel pawb [eraill:] ac a dorrwyd ymmaith fel pen twysen. Ac onid [ydyw hyn] yn awr, pwy a 'm gwnaiff i yn gelwyddoc? ac a esyd fy ymadrodd yn ddiddym?

YNa Bildad y Suhiad a attebodd, ac a ddywedodd. Arglwyddiaeth, ac ofn [sydd] ganddo ef: y mae efe yn gwneuthur heddwch yn ei vchelder. A oes gyfrif oi dorfoedd ef? ac ar bwy ni

chyfyd ei oleuni? Pa fodd y cyfiawnheuir dŷn [os cystedlir ef] a Duw? a pha fodd y bydd yr hwn a aned o wraig yn bûr? Wele hyd yn oed y lleuad, ac ni lewyrcha hi: a 'r sêr nid ydynt bûr yn ei olwg ef: pa faint llai dŷn [yr hwn sydd] bryf: a mab dŷn [yr hwn sydd] abwydyn?

AC Iob a attebodd, ac a ddywedodd, Pwy a gynnorthwyaist ti? ai yr dinerth? a achubaist ti y braich [sydd] heb gadernid? Pa fodd y cynghoraist ti yr annoeth? ac y mynegaist reswm yn aml? Wrth bwy y mynegaist yr ymadroddion? ac enaid pwy a ddaeth allan o honot ti. [Pethau] wedi meirw a lunnîr oddi tann y dyfroedd, a 'r rhai sydd yn trigo ynddynt hwy. Y mae vffern yn noeth ger ei fron ef: ac nid oes dô ar ddestruw. Y mae efe yn tanu y gogledd ar wag-le: y mae efe yn crogi y ddaiar ar ddiddim. Y mae efe yn rhwymo dyfroedd yn ei gwmylau: ac nid ydyw 'r cwmwl yn hollti tanynt hwy. Y mae efe yn attal wyneb [ei] orsedd-faingc: y mae efe yn tanu ei gwmwl arni hi. Efe

a amgylchynodd derfyn gosodedic ar wyneb y dyfroedd: hyd orphenniad goleuni, a thywyllwch. Y mae colofnau y nefoedd yn escwyd: ac yn crynu rhac ei gerydd ef. Efe a ostêgodd y môr ai nerth: ac a darawodd [ei] falchter ai ddoethineb. Efe a addurnodd y nefoedd ai yspryd: ei law ef a luniodd y sarph dorchoc. Wele dymma rannau ei ffyrdd ef, ac morr fychan [ydyw] 'r peth yr ydym ni yn ei glywed am dano ef? ond pwy a ddeall darânau ei gadernid ef?

AC Iob a barablodd eil-waith, ac a ddywedodd, Y mae Duw yn fyw [yr hwn] a symmudodd fy marn: a 'r Holl-alluog [yr hwn] a ofidiodd fy enaid. Etto tra [fyddo] fy enaid ynof: ac yspryd Duw yn fy ffroenau, ni ddywed fyng-wefusau anwiredd: ac ni thraetha fy nhafod dwyll. Na ato Duw i mi eich cyfiawnhau chwi: oni threngwyf ni symmudaf fy mherffeithrwydd oddi wrthif. Yn fyng-hyfiawnder yr ymeflais, ac nis gollyngaf hi: ni wradwydda fyng-halon

[fi] byth. Bydd fyng-elyn fel yr annuwiol: a'r hwn sydd yn codi yn fy erbyn fel yr anwir. Canys pa obaith [sydd] i'r rhagrithiwr er elwa o honaw ef, pan dynno Duw ei enaid ef allan? A wrendu Duw ei lef ef, pan ddêlo cyfyngder arno ef? A ymlawenycha efe yn yr Arglwydd? a eilw efe Dduw bob amser? Myfi a'ch dyscaf chwi am allu Duw: ni chelaf yr hyn sydd gan yr Holl-alluog. Wele chwychwi chwychwi oll a welsoch: a pha ham yr ydych chwi felly yn ofêra [mewn] oferedd? Dymma rãn dŷn annuwiol gyd a Duw: ac etifeddiaeth y rhai traws [yr hon] a gafant hwy gan yr Holl-alluog. Os ei feibion ef a amlheuir [hwynt hwy a amlheuir] i'r cleddyf: ai hiliogaeth ef ni ddigonir â bara. Ei weddillion ef a gleddir ym marwolaeth: ai wragedd gweddwon ni ŵylant. Os pentyrra efe arian fel pridd: ac os paratoa efe ddillad fel clai, efe a baratôa, ond y cyfiawn a wisc: a'r arian, y cyfiawn [ai] cyfranna. Efe a adailadodd ei dŷ fel gwyfyn, ac fel bŵth [yr hwn] a wnai y gwili-ŵr. Y cyf-

oethog a hûna, ac nis cleddir, [vn] a egyr ei lygaid, ac ni [bydd] efe. Dychrynniadau ai goddiweddant ef fel dyfroedd: corwynt ai cippia ef liw nôs. Y dwyrein-wynt ai cymmer ef i ffordd, ac efe a aiff ymmaith: ac ai teifl ef fel corwynt allan oi lê. Ie [Duw] a deifl arno ef, ac nid arbed: gan ffoi efe a ffŷ rhag ei law ef. [Pob dyn] a gûr ei ddwylaw arno ef: ac a chwibana arno ef allan oi lê.

DIau fod gwythien i'r arian: a lle i'r aur [yr hwn] a doddant hwy. Haiarn a dynnir allan o'r prîdd: ac [allan] o'r garreg y toddir prês. [Duw] sydd yn gosod terfyn ar dywyllwch, ac yn chwilio allan bob perffeithrwydd: [hyd yn oed] y meini [a guddiwyd mewn] tywyllwch, a chyscod angeu. Y mae yr afonydd yn torri allan yn erbyn y trigolion, [a'r dyfroedd] dyfnion vwch na dŷn a giliasant. Y ddaiaren o'r hon y daw bara allan, y troiwyd megis tân tani. Ei cherrig hi [a fyddant] lê i Saphir: ai phriddellau yn aur. Llwybr [yw hwn] nid

adnabu aderyn ef: ac ni chanfu llygad barcud ef. Yr hwn ni sathrodd cenawon llew: nid aeth hên lew trosto ef. Y mae efe yn estyn ei law at y gallestr: y mae efe yn dymchwelyd mynyddoedd o'r gwraidd. Y mae efe yn peri afonydd dorri allan o'r creigiau: ac y mae ei lygad ef yn gweled pob peth gwerthfawr. Y mae efe yn rhwymo'r afonydd rhag llifo: ac y mae efe yn dwyn dirgelwch allan i'r goleuni. O ba le gan hynny y ceir doethineb? a pha le y mae trigle deall? Ni ŵyr dŷn beth a dâl hi: ac ni cheir hi yn nhir y rhai byw. Y mae'r dyfnder yn dywedyd, nid [ydyw] hi ynofi: ac y mae'r môr yn dywedyd, nid [ydyw hi] gyd a myfi. Ni cheir hi er aûr pûr: ac ni ellir pwyso ei gwerth hi o arian. Ni chyffelybir hi i'r aur o Ophir: nac i'r Onix gwerthfawr, nac i'r Saphyr. Nid aur nac Adamant ai cystadla hi: na llestr o aur dilin [fydd] gydwerth iddi. Ni chofir y Cwrel, na'r Gabis, canys [gwell yw] caffaeliad doethineb na gemmau. Ni ellir cyffelybu

y Topaz o Ethiopia iddi hi: ni chyd-brissir hi ag aur pûr. Gan hynny o ba lê y daw doethineb? a pha lê y mae mangre deall? Canys hi a guddied oddi wrth lygaid pob dŷn byw: a hi a guddiwyd oddi wrth ehediaid y nefoedd. Colledigaeth, a marwolaeth sydd yn dywedyd: ni a glywsom a'n clustiau sôn am dani hi. Duw [yn vnic] sydd yn deall ei ffordd hi: ac efe a edwyn ei lle hi. Canys y mae efe yn edrych ar eithafoedd y ddaiar: y mae efe yn gweled dann yr holl nefoedd. Wrth wneuthur pwys i'r gwynt: pan bwysodd efe y dyfroedd mewn messur. Pan wnaeth efe derfyn i'r glaw: a ffordd i fellt tarânau. Yna efe ai gwelodd hi, ac ai mynegodd hi: efe ai paratôdd hi, a hefyd efe ai chwiliodd hi allan. Ac wrth ddŷn efe a ddywedodd, wele ofn Duw sydd ddoethineb: a chilio oddi wrth ddrwg sydd ddeall.

YNa Iob a barablodd trachefn, ac a ddywedodd, Oh na bawn i fel yn y misoedd o'r blaen: fel yn y dydd-

iau pan gadwe Duw fyfi. Pan wnae efe iw oleuni lewyrchu vwch fy mhen: wrth oleuni yr hwn y rhodiwn drwy dywyllwch. Pan oeddwn yn nyddiau fy ieuengtid, ac ymgeledd Dduw ar fy mhabell. Pan [oedd] yr Holl-alluog etto gyd a mi: a'm llangciau o'm hamgylch. Pan olchid fy nhraed ag ymenyn: a [phan] dywallde y graig arnafi afonydd o olew. Pan awn i allan i'r porth trwy 'r dref: parwn baratoi fy eisteddfa yn yr heol. Llangciau a'm gwelent, ac a ymguddient: a henuriaid a gyfodent, ac a safent. Tywysogion a attalient eu ymadroddion: ac a osodent [eu] llaw ar eu genau. Pendefigion cymmen a ymguddient: ai tafod hwy a lyne wrth daflod eu genau. Canys y glust [a'm] clywe a'm bendithie: a'r llygad [a'm] gwele a destiolaethe o honof. Canys gwaredwn y tlawd yr hwn a fydde yn gweiddi: a'r ymddifad, a'r [hwn] ni [bydde] gynnorthwy-wr iddo. Bendith y colledig a ddeue arnaf: a gwnawn i galon y wraig weddw

lawenychu. Gwiscwn gyfiawnder, a hithe a wisce am danafi: a 'm barn [fydde] fel mantell, a choron. Llygaid oeddwn i 'r dall: a thraed oeddwn i 'r cloff, tâd oeddwn i 'r rhai anghenog: a 'r cŵyn [yr hwn] nid adwaenwn, a chwiliwn i allan. Drylliwn hefyd gilddannedd yr anghyfiawn: a gwnawn iddo ef fwrw 'r sclyfaeth allan oi ddannedd. Am hynny y dywedwn, byddaf farw yn fy nŷth: a byddaf morr aml [fy] nyddiau a 'r tywod. Fyng-wreiddin [oedd] yn agored i 'r dyfroedd: a 'r gwlith a arhosodd yn fy mrig. Fyng-ogoniant oedd îr gyd a mi: a 'm bŵa a adnewydde yn fy llaw. Hwynt a wrandawent arnaf, ac a ddisgwilient: distawent am fyng-hyngor. Ar ôl fy ymadrodd ni ddywedent hwy ailwaith: canys fy ymadrodd a ddifere arnynt hwy. A hwy a 'm disgwilient i fel glaw: ac a agorent eu genau fel [am] y diweddar-law. Chwarddwn arnynt hwy, [ond] ni chredent: ac ni wnaent hwy i lewyrch fy wyneb syrthio. Dewiswn eu ffordd hwynt, eisteddwn yn ben-

naf, a thrigwn fel brenin mewn llu: megis yr hwn a gyssuro rai galarus.

ONd yn awr y rhai sy ieuangach na mi o edran sy yn fyng-watwar, y rhai y gwrthodaswn eu tadau, iw gosod gyd a chŵn fy nefaid. I ba beth [y gwasanaethase] cryfdwr eu dwylaw hwynt i mi? darfuase am henaint ynddynt hwy. Y rhai a ffoesant rhac angeu, a newyn i anialwch sych: i dywyllwch, diffaethwch, a gwylltineb. Y rhai a dorrent ddanadl mewn brysclwyni: a gwraidd meryw [oedd] eu bwyd hwynt. Hwy a yrrid ymmaith o ganol [y ddinas: pobl] a waeddent yn eu herbyn hwy fel [yn erbyn] lleidr. I drigo mewn holltau afonydd: [mewn] tyllau pridd, a chreigiau [y gyrrid hwynt.] Hwynt a ruent ym mhlith perthi: hwynt a ymgasclent dann ddanadl. Meibion yr ynfyd, a meibion heb henw [ydynt hwy,] gwaelach ydynt hwy na'r ddaiar. Ac yn awr eu cân hwy ydwyfi: ac myfi ydwyf yn destyn iddynt. Y maent hwy yn fy ffieiddio, yn cilio ym mhell oddi wrthif: ac yn poeri yn fy

wyneb. Canys efe a ddatododd fy rhaff, ac a 'm cystuddiodd: a hwy a ollyngasant y ffrwyn yn fyng-olwg i. Bechgyn sy yn codi ar fy llaw ddeheu, y maent hwy yn gwthio fy nrhaed: ac maent hwy yn palmantu arnaf eu llwybrau dinistriol. Hwy a anrhaithiasant fy llwybr, chwanegasant fy nhrueni: heb fôd iddynt hwy help. Y maent hwy yn dyfod [arnaf] megis [dwfr trwy] adwy lydan: y maent hwy yn ymdreiglo tann anrhaith. Braw a droiwyd yn fy erbyn i, fel gwynt yr erlidir fy [enaid] bonheddig: a'm iechydwriaeth a aiff heibio fel cwmwl. Am hynny 'r ymdywallt fy enaid yn awr ynof: [ac] y deil dyddiau cystudd fi. Y nos y tyllir fy escyrn o 'm mewn: a 'm gîau nid ydynt yn gorphywys. Yn amldra cryfdwr [fyng-hlefyd] fyng-wisc sydd yn ymnewidio: [yr hwn] a 'm hamgylcha fel coler fy mhais. Efe a 'm taflodd yn y clai: fel y gallaf fyng-hyffelybu i bridd, a lludw. Yr ydwyf yn llefain arnat ti, ac nid ydwyt yn gwrando: sefais [ger dy fron,] ac [nid] ystyriaist

wrthif. Yr wyt yn troi yn greulon yn fy erbyn: yr wyt yn fyng-wrthwynebu â nerth dy law. Yr ydwyt yn fy nerchafu ar y gwynt, ydwyt yn gwneuthur i mi farchogeth [arno ef:] yr ydwyt yn fy nhoddi fi [o'm] sylwedd. Canys myfi a wn y troi di fi i farwolaeth: ac i'r tŷ rhacderfynedic i bôb dŷn byw. Diau nad estyn [Duw ei] law i'r bedd: er [bod] gwaedd ganddynt yn ei ddrychineb ef. O ni ŵylais i dros yr hwn oedd galed [ei] fyd: [oni] chyd-ofidiodd fy enaid a'r anghenog? Ond pan obeithiais i ddaioni, drygfyd a ddaeth: pan ddisgwiliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth. Fy emyscaroedd a ferwasant, ac ni orphywysasant: dyddiau cystudd a'm rhacflaenasant. Yr ydwyf yn rhodio yn ddû heb haul: yr ydwyf yn gweiddi yn y gynnulleidfa. Yr ydwyf yn frawd i'r ddraig: ac yn gyfaill i gywion yr Estris. Fyng-hroen a dduodd oddi am danaf: a'm hescyrn a loscasant rhac sychdwr. Am hynny y mae fy nhelyn yn alarus: am horgan [fel] llais rhai yn ŵylo.

MYfi a wneuthum ammod a'm llygaid, nad edrychwn ar forwyn? Canys pa rann [sydd oddi wrth] Dduw oddi vchod? a [pha] etifeddiaeth [sydd oddi wrth] yr Holl-alluog o 'r vchelder? Ond [oes] trychineb i 'r anwir? a dieithr [ddinistr] i 'r rhai sy yn gwneuthur anwiredd? Onid ydyw efe yn gweled fy ffyrdd i? ac [onid] ydyw efe yn cyfrif fyng-hamrau i? Os rhodiais mewn oferedd: ac [os] prysurodd fy nhroed i dwyllo, pwysed fi mewn cloriannau cyfiawn: a mynned Duw ŵybod fy mherffeithrwydd. Os gŵyrodd fyng-herddediad allan o 'r ffordd: a myned o 'm calon ar ôl fy llygaid: neu lŷnu dim aflan yn fy nwy-law: bwytaed arall yr hyn a hauwyf: a dadwreiddier fy hiliogaeth i. Os twylled fyng-halon at wraig: ac os cynllwynais wrth ddrws fyng-hymydog, maled fyng-wraig inne i [ŵr] arall: a gorwedded eraill gyd a hi. Canys scelerder ydyw hyn, ac anwiredd iw farnu ydyw efe. Canys tân ydyw efe a yssa oni anrheithio: ac efe a ddadwreiddiase fy holl ffrwyth.

Os diystyrais farn fyng-wâs a'm gwasanaeth-ferch, pan ymrysonent hwy a myfi: canys pa beth a wnawn pan gode Duw? a phan ymwele efe, pa beth a attebwn iddo? Ond yr hwn a'm gwnaeth i yn y grôth, ai gwnaeth yntef? a'r vn a'n cymhwysodd ni yn y bru? Os atteliais [ddim] o ddeisyfiad y tlodion: ac os gwneuthum i lygaid y wraig weddw ddeffygio, ac os bwyteais fy mwyd yn vnic, ac oni fwytaodd yr ymddifad o honaw ef, (canys efe a gynnyddodd [gyd â] mi fel [gyd â] thâd o'm hieuengtid: ac o grôth fy mam mi a dywysais y weddw.) Os gwelais [neb] yn marw o eisieu dillad: ac [am] nad [oedd] wisc i'r anghenog, os ei lwynau ef ni'm bendithiasant, ac [oni] chynhesodd efe gan gnû fy ŵyn i, os codais fy llaw yn erbyn yr ymddifad, pan welwn fyng-hymmorth yn y porth: syrthied fy mhalfais oddi wrth fy yscwydd: a dryllier fy mraich allan o'r cymmal. Canys ofn dinistr Duw [oedd] arnaf: o herwydd ni allwn [ddiangc] gan ei vchelder ef. Os gosodais

fyng-obaith [mewn] aur: ac os dywedais wrth aur coeth, fy ymddyried [wyt.] Os llawenychais pan [fydde] fyng-hyfoeth yn aml: a phan gaffe fy llaw [gyfoeth] mawr, os edrychais ar yr haul pan dywynne: a 'r lleuad yn cerdded yn odidog, os twyllodd fyng-halon yn guddiedic [iw haddoli:] ac [os] cussanodd fy llaw i fyng-enau: hyn hefyd [fuase] anwiredd iw barnu: canys gwadaswn Dduw oddi vchod. [Felly] a lawenychais i am drychineb yr hwn a 'm casâe i, ac a ymgodais pan ddigwyddodd drwg iddo ef? Canys ni ddioddefais i daflod fyng-enau bechu: gan ofyn ei enioes ef drwy felldigo. Oni ddywedodd dynnion fy mwth i, pwy a ddyru oi gnawd ef? [er hynny] ni ddigonid ni. Ni leteuodd dieithr-ddyn allan: agorais fy nrysau i 'r fforddolion. Ni thoais fyng-hamweddau fel Adda gan guddio fy anwiredd yn fy monwes, canys gallaswn orthrymmu tyrfa luosog, ond y teulu gwaelaf a 'm dychryne i, fel y tawn heb fyned allan [o 'm] drŵs. Oh am vn a 'm gwrandawe, wele fy nymyniad, yr

Holl-alluog a destiolaetha gyd a mi er scrifennu o 'm gwrthwyneb-wr lyfr [i 'm herbyn.] Oni ddygwn ef ar fy yscwydd: [oni] rwymwn ef yn [lle] coron i mi? Mynegwn iddo ef rifedi fyng-hamrau: fel at dywysog y nessawn atto ef. Os ydyw fy nhîr i yn llefain yn fy erbyn: ac [os] ydyw ei gwysau ef yn cyd-ŵylo, os bwyteais i ei gryfdwr ef yn ddiardreth: ac [os] cystuddiais enaid ei berchennogion ef, deued yscall allan yn llê gwenith, a bulwg yn lle haidd: [felly] Y DIWEDDWYD GEIRIAV IOB.

FElly y tri gŵr ymma a beidiasant ag atteb i Iob: am ei [fod] efe yn gyfiawn yn ei olwg ei hun. A digofaint Elihu mab Berachel y Buziad o genedl Ram a gynneuodd, ei ddigofaint ef a enynnodd yn erbyn Iob am farnu o honaw ef ei enaid yn gyfiawn ger bron Duw. Ai ddigofaint ef a gynneuodd yn erbyn ei dri chyfaill, am na chawsent hwy atteb, gan farnu o honynt hwy Iob yn euog. Elihu hefyd a arhosasse ar Iob yn ei eiriau: canys yr oeddynt hwy yn

hynach nag ef o oedran. Pan welodd Elihu nad [oedd] atteb [cymmwys] gan y try-wŷr, yna y cynneuodd ei ddigofaint ef. Am hynny Elihu mab Barachel y Buziad a attebodd, ac a ddywedodd, ieuangc ydwyf o oedran, chwithau [ydych] henuriaid : am hynny 'r arswydais, ac yr ofnais ddangos fyng-ŵybodaeth i chwi. Meddyliais [fel hyn,] dyddiau a draethant, a lliaws o flynyddoedd a ddyscant ddoethineb. Ond y mae yspryd mewn dŷn : ac ysprydoliaeth yr Holl-alluog sydd yn gwneuthur iddynt hwy ddeall. Nid [gwŷr] mawrion fyddant ddoeth : ac nid henaf-gwŷr a ddeallant farn [yn vnic.] Am hynny y dywedais, gwrando fi : minne a ddangosaf fyng-ŵybodaeth. Wele disgwiliais am [ddiwedd] eich geiriau, clust-ymwrandewais hyd oni [welais] eich deall chwi, tra y chwiliasoch chwi am eiriau. Ystyriais hefyd wrthych chwithau, ac wele nid [oedd vn] o honoch yn argyoeddu [Iob] gan atteb ei eiriau ef. Rhac dywedyd o honoch, ni a gawsom ddoethineb : y mae Duw

yn ei chwalu ef, ac nid dŷn. Er na hwyliodd efe [ei] ymadroddion yn fy erbyn i: myfi ai hattebaf ef, ond nid fel yr attebasoch chwi. Hwy a ddychrynnasant, nid attebasant mwy: gwrthodasant lefaru. Wedi disgwil o honof, gan na lefarant, eithr sefyll heb atteb mwy, minne a attebaf fy rhan, minne a ddangosaf fyng-ŵybodaeth. Canys yr ydwyf yn llawn geiriau: y mae yspryd ynof yn fyng-hymmell i. Wele fy mol [sydd] fel gwîn yr hwn nid agorid: y mae efe yn hollti fel costrêlau newyddion. Dywedaf fel y cafwyf fy anadl: agoraf fyngwefusau, ac attebaf. Ni dderbynniaf yn awr wyneb neb: ni ragrithiaf wrth ddŷn. Canys ni wn pe rhagrithiwn pa gynted i'm cymmere fyng-wneuthur-wr fi ymmaith.

GAn hynny Iob clyw attolwg fy ymadroddion: a gwrando fy holl eiriau. Wele 'r ydwyf yn awr yn agorid fyng-enau: mae fy nhafod yn dywedyd yn haflod fyng-enau. Iniondeb fynghalon [fydd] fyng-eiriau: a'm gwefusau

a adroddant ŵybodaeth bur. Yspryd Duw a 'm gwnaeth i: a chwythad yr Holl-alluog a 'm bywioccaodd i. Os gelli fy atteb i: ymbaratoa [a] saf o 'm blaen i. Wele yr ydwyfi o flaen Duw fel tithe: allan o'r clai y torrwyd finne. Wele ni 'th ddychryna fy arswyd i: ac ni bydd fy llaw drom arnat. Ond ti a ddywedaist lle y clywais i: ac myfi a wrandewais ar lais [dŷ] ymadroddion di. Pûr [ydwyf] fi heb gamwedd: glân [ydwyf] ac heb anwiredd ynof. Wele efe a gafodd achosion yn fy erbyn: y mae efe yn fyng-hyfrif yn elyn iddo. Y mae efe yn gosod fy nhraed mewn cyffion: y mae efe yn gwilied fy holl lwybrau. Wele [yn] hyn mi a 'th attebaf, nid ydwyt gyfiawn: canys mwy ydyw Duw na dŷn. Pa ham yr ymrysonaist yn ei erbyn ef? o herwydd nad ydyw efe yn atteb am ei holl eiriau. Pan ymdiddano Duw vn-waith neu ddwy-waith, ni ddeall [dŷn] hynny. Drwy hûn, [a thrwy] weledigaeth y nos, pan syrthio trymgwsc ar ddynnion, wrth heppian ar wely,

yna 'r egyr efe glust dynnion : ac y selia efe eu cospedigaeth hwy, i dynnu dŷn [oddi wrth] waith [drwg :] ac fel y gorchguddio efe falchter oddi wrth ŵr, [fel] yr attalio efe ei enaid ef o 'r pwll : ai hoedl ef rhag myned o 'r cleddyf trwyddi hi. Ac efe a geryddir trwy ofid ar ei wely : a lliaws ei escyrn ef [â gôfid] caled. Fel y ffieiddio ei fywyd ef fara : ai enaid fwyd blasus. [Fel] y darfyddo ei gnawd ef allan o olwg : fel y safo ei escyrn allan [y rhai] ni welyd [o 'r blaen.] Ac y nessao ei enaid i 'r clawdd : ai fywyd i [loesion] anghefol. Os bydd ganddo ef gennad o ladmerudd, vn o fîl, i ddangos i ddyn ei iniondeb ef : yna efe a drugarhâ wrtho ef, ac a ddywed, gollwng ef rhac descyn o honaw i 'r clawdd, myfi a gefais iawn. Ireiddiach [fydd] ei gnawd ef na bachgen : efe a ddychwel at ddyddiau ei ieuengctid. Pan weddio ar Dduw yntef a fydd bodlon iddo ef, fel yr edrycho yn ei wyneb ef mewn gorfoledd : canys efe a rydd i ddŷn ei gyfiawnder drachefn.

Efe a edrych ar ddynnion [eraill,] ac a ddywed, pechais, a gŵyrais iniondeb, ac ni lwyddodd i mi. Efe a ollyngodd fy enaid rhag myned heibio i'r clawdd: a'm bywyd a wêl oleuni. Wele hyn oll a wna Duw ddwy-waith [neu] dair â dŷn, i ddwyn ei enaid ef o'r pwll: i oleuo yng-oleuni y rhai byw. Gwrando Iob clyw fi: taw fel y llefarwyf inne. Od oes geiriau gennit ti, atteb fi: llefara, canys chwennychwn dy gyfiawnhau di. Onid ê gwrando di arnafi, bydd ddistaw, ac myfi a ddyscaf i ti ddoethineb.

AC Elihu a lefarodd, ac a ddywedodd: [Ha wŷr] doethion gwrandewch fy ymadroddion: a [chwychwi] y rhai ydych yn gŵybod, clust-ymwrandewch. Canys y glust a farna ymadroddion: fel yr archwaetha y genau fwyd. Dewiswn i ni ein hunain iniondeb, fel y gŵybyddom rhyngom pa beth sydd ddâ. Canys dywedodd Iob, cyfiawn ydwyf: a Duw a symmudodd fyng-hyfiawnder. A ddywedaf i gelwydd yn erbyn fy matter fy hun? trom [ydyw]

dy saeth heb gamwedd ynof. Pa ŵr [fydde] fel Iob, [yr hwn] a ŷf watworgerdd fel dyfroedd? Ac a rodiodd ynghymydeithas gyd â gweithred-wŷr anwiredd: ac i fyned gyd â dynion annuwiol. Canys dywedodd, ni fuddia i ŵr, ewyllysio o honaw ef [rodio] gyd â Duw. Am hynny chwychwi wŷr calonnoc, gwrandewch arnaf, pell fyddo Duw oddi wrth annuwioldeb, a 'r Hollalluoc oddi wrth anwiredd. Canys efe a dâl i ddyn ei waith: ac efe a wnaiff i ŵr gael yn ôl ei lwybr ei hun. Diau hefyd na wna Duw yn annuwiol: ac na ŵyra 'r Holl-alluoc farn. Pwy heb ei law ef sydd yn llywodraethu y ddaiar iddo ef? a phwy a osododd yr holl fyd? Pe gosodase [Duw] ei feddwl yn erbyn [dŷn: a phe] cascle efe atto ei hun ei yspryd, ai chwythad ef, [yna] pôb cnawd a gyd-drenge: a dŷn a ddychwele i 'r pridd. Od [oes] ddeall [ynot] gwrando hyn: clust-ymwrando a llef fy ymadroddion. A gaiff yr hwn sydd yn cassaû barn lywodraethu? ac a elwi di

yr hwn sydd gyfiawn odieth yn annuwiol? A ddywedir wrth frenin, ô [ŵr] drygionus: [ac] ô annuwiol, wrth dywysogion? Yr hwn ni dderbyn wynebau tywysogion, lle nid adwaenir y goludoc o flaen y tlawd: canys gwaith ei ddeheulaw ef ydyw pawb. Hwy a fyddant meirw mewn moment, a hanner nos y cynhyrfa y bobl, ac yr ânt heibio: a 'r cadarn a symmudir heb law. Canys ei lygaid ef [a fyddant] ar ffyrdd dŷn: ac efe a wêl ei holl gamrau ef. Nid [oes] dywyllwch, ac nid [oes] gyscod angeu: lle y gall y rhai sydd yn gweithio anwiredd ymguddio. Canys ni esyd [Duw] ar ddyn y chwaneg [nac a haeddo efe,] fel y gallo efe fyned i 'r gyfraith â Duw. Efe a ddryllia rai cedyrn yn anifeiriol: ac a esyd eraill yn eu lle hwynt. Am hynny efe a gyhoedda eu gweithredoedd hwy: a phan newidio efe y nos, hwy a ddryllir. Efe ai teru hwynt megis rhai annuwiol yn amlwg. Am iddynt hwy gilio oddi ar ei ôl ef: ac na ddeallent ei holl ffyrdd ef. Gan

ddwyn gwaedd y tlawd arnynt hwy: canys efe a wrendu waedd y trueniaid. Canys pan esmwythâo efe, pwy a anesmwythâ? a phan guddio efe ei wyneb, pwy a edrych arno ef? sef ar genhedlaeth, neu ar ddŷn vnic. Fel na theyrnase dŷn ffuantus, [ac] na rwyder y bobl. Ond wrth Dduw 'r hwn a ddywedodd, mi a faddeuais, nid anrheithiaf, [y dylid dywedyd,] heblaw a welaf dysc di fi: o gwneuthum anwiredd, ni wnafi mwy. A ydyw [hyn] o honot ti? efe a dâl hynny os diystyri di [y neb a 'th rybuddio,] os dewisi di hynny, ond ni [wnawn] i: dywet yn awr yr hyn a ŵyddost. Gwŷr call a ddywedant gyd â mi: a 'r gŵr doeth yr hwn a'm clywe. Iob a ddywedodd yn annoeth: ai eiriau nid ydynt mewn deall. Fy nhâd profer Iob hyd y diwedd: am [roddi] attebion tros ddynion anwir. Canys efe a chwanegodd scelerder at ei bechod, efe a gurodd ei ddwylo yn ein plith ni: ac a amlhâodd ei eiriau yn erbyn Duw.

AC Elihu a lefarodd, ac a ddywedodd: A gyfrifaist di yn llê iniondeb, ddywedyd o honot, [y mae] fynghyfiawnder i yn fwy na [chifiawnder] Duw? Os gofynni, pa lês a wnaiff [hynny] i ti [gan ddywedyd,] pa beth a ennillaf oddi wrth fy mhechod? Myfi a attebaf i ti eiriau, ac i'th gyfeillion gyd a thi. Edrych ar y nefoedd a gwêl: ac edrych ar y cwmylau [y rhai] ydynt vwch na thi. Os pechi, pa [niwed] a wnei di iddo ef? os aml fydd dy anwireddau, pa [fudd] awnei di iddo ef? Os cyfiawn fyddi, pa beth a roddi di iddo ef? neu pa beth a gymmer efe o'th law di? I ŵr fel ty di dy annuwioldeb: ac i fab dŷn dy gyfiawnder awna [ryw beth.] Hwynt a wnant wrth fawredd i'r gorthrymmedic lefain: hwy a floeddiant rhac braich gwŷr mawr. Ond ni ddywed [neb,] pa lê y mae Duw'r hwn a'm gwnaeth i? yr hwn sydd yn rhoddi achosion i ganu y nôs [iddo ef.] Yr hwn sydd yn ein discu yn fwy nag anifeiliaid y ddaiar: ac yn ein gwneuthur

yn ddoethach nag ehediaid y nefoedd. Yna hwy a waeddant rhac balchder y rhai drwg, ac ni chlyw efe. Diau na wrendu Duw oferedd: ac nad edrych yr Holl-alluoc arno. Er dywedyd o honot [oh Dduw] nid edrychi di ar hyn: [y mae] barn ger ei fron ef, disgwil di wrtho ef. Ac yn awr am nad ymwelodd ei ddigofaint ef, ac na fynnodd efe ŵybod y dirfawr amldra [o bechodau,] am hynny y llêda Iob ei safn [mewn] oferedd: ac yr amlhâ efe eiriau heb ŵybodaeth.

AC Elihu a lefarodd, ac a ddywedodd: Disgwil wrthif y chydig, ac myfi a fynegaf i ti: canys [y mae] gennif ymadroddion etto tros Dduw. O bell y cymmeraf fyng-ŵybodaeth: ac i'm gwneuthur-wr y rhoddaf fi gyfiawnder. Canys yn wîr nid celwydd fydd fy ymadroddion: [y mae vn] perffaith o ŵybodaeth gyd a thi. Wele cadarn ydyw Duw, ac ni ddiystyra efe [neb:] cadarn o gadernid a doethineb [yw efe.] Nid achub efe fywyd yr annuwiol: ac efe a rydd iniondeb [i'r] trueniaid. Ni thynn

efe ei olwg oddi ar y cyfiawn, eithr efe ai gesyd hwynt gyd a brenhinoedd ar yr orsedd-faingc yn dragywydd, ac felly y derchefir hwynt. Ac os hwy wedi eu rhwymo â gefynnau, a gaethiwir â rhaffau gorthrymder, yna efe a ddengys iddynt hwy eu gwaith: a'r modd y gorthrechodd eu hanwireddau hwynt. Ac a egyr eu clustiau iddynt hwy i [dderbyn] cerydd: ac a ddywed am droi o honynt hwy oddi wrth anwiredd. Os gwrandawant hwy, ac [os] gwasanaethant hwy [ef,] hwynt a dreuliant eu dyddiau mewn daioni, ai blynyddoedd mewn hyfrydwch. Ac oni wrandawant, cleddyf a aiff trwyddynt hwy: a hwynt a drengant heb ŵybod. Ond y rhai rhagrithiol o galon a chwanêgant ddig: ni waeddant [arno ef] pan rwymo efe hwynt. Eu henaid hwythau fydd marw mewn ieuengctid: ai bywyd gyd a'r puttein-wŷr. Efe a wared y truan oi orthrymder: ac a egyr eu clustiau hwynt mewn gorthrymder. Felly hefyd efe a'th wthiase di o enau cyfyngdra i ehangder, dann yr hwn ni

[buase] wascfa: a saig dy fwrdd di [fuase] yn llawn brasder. Ond ti a gyflawnaist farn yr annuwiol: [am hynny] barn a chyfiawnder [a'th] ddaliant. Pan [ddigwyddo] digofaint [gochel] rhac gyrru o honaw ef dydi ymmaith yn [dy] gyfoeth, ac na'th waredo iawn mawr. A brissia efe ar dy olud ti? ni [phrissia efe] ar aur, nac ar holl gadernid nerth. Na fefyria liw nos pa fodd y torrir ymmaith pobloedd oi llê. Ymochel, nac edrych ar anwiredd, canys hynny a ddewisaist o flaen cystudd. Wele Duw ai nerth a dderchafa: pwy sydd yn dyscu fel ef? Pwy a orchymynnodd ei ffordd ef iddo? a phwy a ddywed, gwnaethost anwiredd. Cofia am fawrhau o honot ei waith ef: ar yr hwn yr edrych dynion. Yr hwn a welodd pob dŷn: ac a ganfu dŷn o bell. Wele mwy [ydyw] Duw nac y gwyddom ni: ac ni fedrir chwilio allan nifer ei flynyddoedd ef. Canys efe a wna y defnynnau dyfroedd yn fân, [y rhai] a dywalltasant law oi gwmwl ef, pan ddiferodd yr wybrennau i lawr [pan] ddef-

nynnasant hwy ar ddynion lawer. Hefyd a ystyria [dŷn] danadau y cwmylau: [a] thwrwf ei babell ef? Wele efe a dânodd ei oleuni arno: ac a orchguddiodd waelod y môr. Canys â hwynt y barna efe y bobloedd: [ac] y rhydd efe fwyd yn helaeth. Efe a orchguddia oleuni â chwmylau [megis] a dwylaw: ac efe a rydd orchymyn yn erbyn hynny er mwyn cyfryng-wr. Efe a ddengis ei garedigrwydd iddo ef, i anifeiliaid hefyd, [ac] i ffrwyth [y ddaiar.]

AM hyn hefyd y cryn fyng-halon, ac y dychlamma hi oi lle. Gan wrando gwrandewch ar gynhyrfiad ei leferydd ef: ac ar y sain [yr hwn] a ddaw allan oi enau ef. Efe ai hyfforddia dann yr holl nefoedd: ai oleuni hyd eithafoedd y ddaiar. Sŵn a rua ar ei ôl ef, efe a wna darânau â llais ei odidawgrwydd: ac ni oeda efe hwynt pan glywir ei dwrwf ef. Efe a wna darânau ai lais yn rhyfedd: y mae efe yn gweuthur [pethau] mwy nag a ŵyddom ni. Pan ddywed efe wrth eira, bydd [ar] y ddaiar, ac

wrth gafod o law: yn y man cafod glaw ei nerth ef [a ddaw.] Efe a selia law pob dŷn, fel yr adwaeno efe ei holl weith-wŷr. Y bwyst-fil a aiff iw loches: ac a drig yn ei dyllau. O'r deau y daw corwynt: ac oerni oddi wrth y gogledd-wynt. Ai wynt y rhydd Duw rew: ac a gyfynga lêd y dyfroedd. Hefyd efe a flîna gwmwl yn dwfrhau [y ddaiar:] efe a wascar gwmwl ei lewyrch. Ac y mae [y cwmwl] hwnnw yn ymdroi oddi amgylch wrth ei lywodraeth ef: fel y gwnelont hwy beth bynnac a orchymynno efe iddynt hwy ar hŷd wyneb y bŷd, a'r ddaiar: ai [bod] yn gospedigaeth, ai [yn lles] iw ddaiar ef, ai yn ddaioni, efe a bar gael hynny. Gwrando hyn Iob: saf, ac ystyria ryfeddodau Duw. A ŵyddost ti pan esid Duw y rhai hynny? a phan wnel efe i oleuni ei gwmwl ef lewyrchu? A wyddosti oddi wrth bwysau y cwmylau? [a] rhyfeddodau Duw [yr hwn sydd] berffaith-gwbl o ŵybodaeth? Fod dy ddillad yn wresog, pan baro efe y ddaiar yn dawel o'r dehau? A denaist

ti gyd ag ef yr wybrennau, y rhai a siccrhauwyd fel drych toddedic? Gwna i ni ŵybod pa beth a ddywedwn wrtho ef: ni allwn ni gyfleu [ein geiriau] gan dywyllwch [ein meddyliau.] A fynegir iddo ef os llefaraf, pe dywede neb, diau y difethid ef? Canys yn awr nid edrych [neb] y goleuni [pan] fyddo efe ddisclaer yn yr wybrennau: wedi myned o'r gwynt trosodd ai puro hwynt. Trwy ogledd-wynt y daw [goleuni] euraid: ond [y mae] yn Nuw ogoniant mwy ofnadwy. [Y mae] efe yn Holl-alluog, ni allwn ni ei gael ef: yn ardderchawg o nerth a barn, ac yn aml o gyfiawnder, ni chystuddia efe. Am hynny ofned dynnion ef: nid edrych efe ar neb doeth [yn eu] meddwl [eu hun.]

YNA'r Arglwydd a attebodd Iob o'r corwynt, ac a ddywedodd, Pwy *yw* hwnnw sydd yn tywyllu cyngor ag ymadroddion heb ŵybodaeth? Gwreg-ysa dy lwynau yn awr fel gŵr: a mynega i mi *yr hyn* a ofynnwyf i ti. Pa le'r oeddit ti pan sylfaenais i y ddaiar? mynega os medri ddeall? Pwy a osod-

odd ei mesurau hi os gwyddost? neu pwy a estynnodd linin mesur arni hi? Ar ba beth y siccrhauwyd ei gwadnau? neu pwy a fwriodd ei chongl-faen hi? *Pale'r oeddit ti* pan gyd ganodd sêr y borau: ac y gorfoleddodd holl feibion Duw? A *phwy* a gaeodd y môr â dôrau, pan ruthrodd efe allan *megis* y deue *vn* allan o'r grôth? Pan osodais i y cwmwl yn wisc iddo ef: a niwl yn rhwymyn iddo ef: pan osodais fyng-orchymyn arno ef, a *phan* osodais ei drosolion ai ddôrau, gan ddywedyd, hyd ymma y deui di, ac na thyret ym-mhellach: ac ymma'r ymesyd *y traeth* yn erbyn ymchwydd dy donnau di. A orchymynnaist ti y borau yn dy ddyddiau? a ddangosaist ti i'r wawr-ddydd ei llê? I ymaflyd yn eithafoedd y ddaiar, fel yr escydwer rhai annuwiol o honi hi? *Canys* hi a ymnewidia fel clai seliedic: a hwy a safant fel dillad. Fel yr attelid oddi wrth y rhai annuwiol eu goleuni: ac fel y drillid y braich derchafedic. A ddaethost ti i waelod dyfnderoedd y môr? ac a

rodiaisti yng-hilfach y dyfnder? A ddatcuddied pyrth marwolaeth i ti? ac a welaist ti byrth cyscod angeu? A ystyriaist ti ehangder y ddaiar? mynega os adwaenost ti y hi ei gyd. Pa ffordd *yr eir lle* y trig goleuni? a pha lê y mae lle tywyllwch? Gan i ti ddeall hyn oi gwrr, a medru llwybrau ei dŷ ef. A wyddit ti yna y genid ty di? ac *y bydde* rhifedi dy ddyddiau yn fawr? A aethost ti i dryssorau'r eira? neu a weli di dryssorau y cenllysc? Y rhai a atteliais i hyd amser cyfyngder: hyd dydd ymladd, a rhyfel. Pa ffordd yr ymranna goleuni? *ac* yr ymwascar y dwyrein-wynt ar y ddaiar? Pwy a rannodd dymhestlaw yn aberoedd? ac *a wnaeth* ffordd i fellt *a* tharânau? I lawio ar ddaiar *lle* ni byddo gŵr: a'r anialwch *yr hwn sydd* heb ddŷn ynddo? I gyflawni *lle* wedi ei ddifwyno, a *lle* anrhaithiedic: ac i beri i gnŵd o las-wellt dyfu? A oes dad i'r glaw: neu pwy a genhedlodd ddefnynnau'r gwlith? O grôth pwy y daeth yr iâ allan? a phwy a genhedlodd lwyd-rew

y nefoedd? *Fel* yr ymguddio y dyfroedd megis carreg pan rewo wynebau *y* dyfnder. A rwymi di hyfrydwch Pleiades? neu a ddatodi di rwymau Orion? A ddygi di allan Mazzaroth yn eu hamser: neu a dwysi di Arcturus ai feibion? A adwaenost ti ansodd y nefoedd: a osodi di ei lywodraeth ef ar y ddaiar? A ddercheﬁ di dy lêf ar y cwmwl, hyd oni orchguddio helaethrwydd o ddyfroedd dydi? A ddanfoni di fellt allã fel yr elant? a ddywedant hwy wrthit, wele ni? Pwy a osododd ddoethineb yn yr arennau? neu pwy a roddodd ddeall i'r galon? Pwy a gyfrif yr ŵybrennau drwy ddoethineb? a phwy a dywallt i lawr gostrêlau y nefoedd? Gan wlychu pridd wrth y tywalldiad hwnnw, fel y glŷno y priddellau? A elli di hela sclyfaeth i hên lew? neu a elli di lenwi gwangc cenawon llewod? Pan ymgrymmant hwy mewn llochesau: pan eisteddant mewn ffau i gynllwyn? Pwy a baratoa i'r cig-frain eu bwyd, pan lefo eu cywion ar Dduw, [pan] wibiant hwy o eisieu bwyd?

A Adwaenost ti yr amser i eifr gwyllt-
ion i fwrw rhai bychain? a wilii di
['r amser] y bwrw 'r ewîgod loi? A gryfrifi
di y misoedd y [rhai] a gyflawnant hwy?
ac a adwaenost ti 'r amser pan fwriant
hwy rai bychain? Pa fodd y gorweddant,
y bwriant hwy eu llydnod, [ac] yr ym-
adawant ai gofid? [Pa fodd] yr ymgryfhâ
eu llydnod hwy, y cynnyddant hwy yn
y maes? yr ânt hwy allan, ac ni ddy-
chwelant attynt hwy? Pwy a ollyngodd
anifail gwyllt yn rhydd? a phwy a ddat-
ododd rwymau'r assyn wyllt? [Myfi] yr
hwn a osodais yr anialwch yn dŷ iddo:
a'r morfa yn drigfa iddo ef. Efe a
chwardd am [benn] gwerin tref: ni
wrendu efe ar lais geilwad. Cilfachau
mynyddoedd [ydyw] ei borfa ef: ac efe
a gais bob glas-wellt. A gydtuna'r vni-
corn i'th wasanaethu di? a erys efe tros
nos wrth dy bresêbau di? A rwymi di
vnicorn ai dîd mewn rhŷch? a lyfna efe
ddolydd ar dy ôl di? A ymddyriedi di
iddo ef er bod ei gryfdwr ef yn fawr?
a adewi di dy lafur iddo ef? A gredi di

iddo ef, y dŵg efe dy hâd ti drachefn? ac y cascl efe i'th lawr-dyrnu di? [A roddaist ti] adenydd hyfryd i'r peunod? neu adenydd a phlû i'r Estris? Canys hi a âd ei hwyau ar y ddaiar: ac ar y pridd y cynhesa hi [hwynt.] Ac y mae hi yn gollwng tros gof y galle troed eu dryllio hwynt: neu anifail y maes eu sathru hwynt. Caled yw hi wrth ei chywion, [fel pe] na [byddent] eiddo hi: ei gwaith hi [sydd] yn ofer, ac yn ddifraw. Canys Duw a wnaeth iddi hi ollwng doethineb dros gof: ac ni chyfrannodd iddi hi ddeall. Yn y cyfamser ac yr ymgodo hi yn vchel: hi a ddiystyra y march, ai farchog. A roddaist ti gryfdwr i farch: neu a ddyscaist iddo ef werŷru? A ddychryni di ef fel celiog rhedyn? dychryn [ydyw] ardderchawgrwydd ei ffroen ef. [Ei draed ef] a gloddiant mewn glynn, ac efe a lawenycha o [wir] gryfdwr: efe a aiff allan i gyfarfod arfau. Efe a ddiystyra arswyd: canys ni ddychryna efe, ac ni ddychwel efe rhag ofn cleddyf. [Pan] drystio cawell

saethau arno ef: pan ddisclaerio gwaiw-ffon neu laif: [yna] mewn cynnwrf a dychryn y cloddia efe y ddaiar: ac ni chred mai llais yr vdcorn [a glyw efe.] Pan [glywo] efe vdcorn, efe a werŷra, ac efe a arogla o bell ryfel, [a] chynnwrf tywysogion, a gwaedd. Ai trwy dy ddeall di 'r ehêda y gwalch: [ac] y llêda efe ei adenydd tua 'r dehau? Ai wrth dy orchymyn di 'r ymgyfyd eryr, ac y derchafa efe ei nŷth? Y trig efe, ac yr erys [mewn] craig: [ac] ar fin craig megis [mewn] castell? O ddi yno y chwilia efe am fwyd: ei lygaid ef a ganfyddant o bell. Ei gywion ef hefyd a sugnant waed: a lle [y byddo] celanedd yno [y bydd] efe. Yr Arglwydd hefyd a attebodd Iob, ac a ddywedodd: Ai dysceidieth yw ymryson a'r Holl-alluog? attebed argyoedd-wr Duw i hynny. Ac Iob a attebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Wele gwael ydwyf, i ba beth yr attebaf i ti? mi a osodais fy llaw ar fyng-enau. Dywedais vn-waith ond nid attebaf [mwy:] ac eilwaith ond ni chwanegaf.

A'R Arglwydd a attebodd Iob o'r corwynt, ac a ddywedodd, Gwregysa yn awr dy lwynau fel gŵr: a myfi a ofynnaf i ti, mynega dithe i mi. A wnei di fy marn i yn ofer? a fwrii di fi yn ang-hyfiawn i'th gyfiawnhau di? Neu a oes i ti fraich fel i Dduw? neu a wnei di darânau a'th lais fel yntef? Ymdrwssia yn awr â goruchafiaeth, ac â goruchelder: ac ymwisc â gogoniant ac â phrydferthwch. Tywallt gynddaredd dy ddigofaint: ac edrych ar bob balch, a thafl ef i lawr. Edrych ar bob balch a gostwng ef: a dryllia y rhai annuwiol yn eu llê. Cuddia hwynt yng-hyd yn y pridd: rhwym eu hwynebau hwy mewn [lle] cuddiedic. Yna hefyd myfi a gyfaddefaf i ti, mai dy ddeheu-law dy hun a'th achub. Yn awr wele'r Eliphant yr hwn a wneuthum gyd a thi: gwair a fwyttu efe fel ŷch. Wele yn awr ei gryfder ef [sydd] yn ei lwynau: ei nerth ym mogel ei fol. Efe a gyfyd ei gynffon fel cedr-wŷdden: gewynnau ei arennau ef sy blethedic. Pibellion o ddûr [ydyw] ei escyrn ef: ei

escyrn [ydynt] fel ffyn heirn. Pennaf o ffyrdd Duw [ydyw] efe: yr hwn ai gwnaeth ef a osododd [wrtho ef] ei gleddyf. Y mynyddoedd yn ddiau a ddygant las-wellt iddo ef: ac yno y chwêru holl anifeiliaid y maes. Efe a orwedd dann goedydd cyscod-fawr: mewn lloches o gorsennau a siglennydd. Coedydd cyscod-fawr ai gorchguddiant ef yn gyscod iddo: helyg yr afon ai hamgylchant ef. Wele efe a orthrymma afon [fel] na phryssuro hi i [redeg:] efe a obeithie y rhuthre Iorddonen iw safn ef. [Yr heliwr] ai deil ef o flaen ei lygaid: [ac] a ddylla ei drwyn [ef] â bachau? A dynni di y Lefiathan allan â bâch? neu a rwymi di ei dafod ef â rhaff? A osodi di fâch yn ei drwyn ef? neu a dylli di ascwrn ei ên ef â mynawyd. A fawr ymbil efe â thi? a ddywed efe wrthit ti yn dêg? A wna efe ammod â thi? a gymmeri di ef yn wâs tragywyddol? A chwarei di ag ef fel ag aderyn? neu a rwymi di ef ith langcesau? A swpera cyfeillion arno ef? a gyfrannant hwy ef rhwng marsiandi-wŷr? A lenwi di fasced

ai groen ef? neu gawell pyscod ai benn ef? Gosot dy law arno ef: cofia y rhyfel, [ac] na wna di mwy. Wele ofer ydyw ei obaith ef [oi ddal:] oni leddid [vn] gan ei olwg ef?

NId [oes neb morr] hyderus ai godi ef: a phwy [yw] efe a saif ger fy mron? Pwy a roddodd i mi yn gyntaf? ac myfi a dalaf: [beth bynnac sydd] dann yr holl nefoedd eiddofi [yw] hynny. Ni thawaf am ei aelodau ef: ac am gryfder a gweddeidd-dra ei osodiad ef. Pwy a ddatcuddiodd wyneb ei wisc ef? pwy a ddaw [atto ef] ai ffrwyn ddau ddyblyg ef? Pwy a agorodd ddôrau ei wyneb ef? dychryn [yw] amgylchoedd ei ddannedd ef. Rhagorol gryfder [ei] emmau [ef] a gaewyd â sêl gyfyng. Y mae'r naill morr agos at y llall, fel na ddelo gwynt rhyngddynt hwy. Pob vn a lŷn wrth ei gilydd: hwynt a ymglasbysant fel na wahanant hwy. Ei disian ef a gynneu yn ffagl: ai lygaid ef [sydd] fel amrantau y borau. Ffaglau a ânt allan, [a] gwreichion tânllyd a ddiangant oi enau ef. Mwg a

ddaw allan oi ffroenau ef: fel [o] bair, neu grochan berwedic. Ei anadl ef a wna i'r glo losci: a fflam a ddaw allan oi enau ef. Yn ei wddf ef y trig cryfder: a thristwch a drŷ yn llawenydd oi flaen ef, llywethau ei gnawd a lynant yng-hyd: caledodd ynddo ei hun fel na syflo. Caled ydyw ei galon ef fel carreg: a chaled fel y maen issaf i felin. Rhai cryfion a ofnant ei ardderchawgrwydd ef: [ac] a wallgofant rhag ei derfysc ef. Ni syfl efe [rhac] y cleddyf a gyffyrddo ag ef, y waiw-ffon, y biccell, na'r llurig. Efe a gyfrif haiarn fel man-ûs: [a] dûr fel prenn pwdr. Ni phâr saeth iddo ef ffoi: cerrig tafl a droed iddo ef yn sofl. Bŵa croes a gyfrifir fel soflun, ac efe a chwardd wrth escwyd glaif. Tano ef [y bydd] megis darniau llymmion o lestr pridd: efe a dana bethau llymmion ar hŷd y clai. Efe a wna i'r dyfnder ferwi fel crochan: efe a esyd y môr fel morter apothecari. Efe a wna lwybr golau ar ei ôl: [fel] y tebygid [fod] y dyfnder yn frig-wynn. Nid [oes] ar y ddaiar gyffelyb iddo ef:

yr hwn a wnaethpwyd heb ddychryn. Efe a genfydd bob peth vchel: brenin [ydyw] efe ar holl feibion balchder.

AC Iob a attebodd yr Arglwydd ac a ddywedodd: Myfi a wn y gelli di bob peth: ac na chuddiir [vn] meddwl oddi wrthit. Pwy [ydyw]'r hwn sydd yn cuddio [ei] gyfrinach fel nas gwyddir? am hynny y lleferais yr hyn nis deallais, [sef pethau] rhy ryfedd i mi y rhai ni's gwyddwn. Gwrando attolwg, ac myfi a lefaraf: gofynnaf i ti, dysc dithe finne. Myfi a glywswn sôn am danat: ac yn awr fy llygad a'th welodd di. Am hynny y bydd ffiaidd gennif fi [fy hun,] ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch, a lludw. Ac wedi dywedyd o'r Arglwydd y geiriau hynny wrth Iob: yr Arglwydd a ddywedodd wrth Eliphaz y Themaniad, fy nigofaint a gynneuodd yn dy erbyn di, ac yn erbyn dy ddau gyfaill, am na ddywedasoch am danafi yn iniawn fel fyng-wasanaeth-wr Iob. Ond yn awr cymmerwch i chwi saith o fustych, a saith o faharynnod, ac ewch at fyng-wasanaethwr

Iob: ac offrymmwch boeth aberth trosoch chwi, a gweddied fyng-wasanaethwr Iob trosoch: canys mi a dderbynniaf ei wyneb ef, fel na wnelwyf i chwi [yn ôl eich] ffolineb, am na ddywedasoch yr iniawn am danafi, fel fyng-wasanaeth-wr Iob. Felly Eliphaz y Themaniad, a Bildad y Suhiad, a Sophar y Naamathiad a aethant, ac a wnaethant fel y dywedase 'r Arglwydd wrthynt hwy: a 'r Arglwydd a dderbynniodd wyneb Iob. Yna 'r Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Iob, pan weddiodd efe tros ei gyfeillion: a 'r Arglwydd a chwanegodd yr hyn oll [a fuase] gan Iob yn ddau-ddyblyg. Ei holl geraint ef hefyd, ai holl garêsau, a phawb oi gydnabod ef o 'r blaen a ddaethant atto ef, ac a fwyttasant fwyd gyd ag ef yn ei dŷ, ac a gyd-ofidiasant ag ef, ac ai cyssurasant ef, am bob drwg a ddygase 'r Arglwydd arno ef: a hwy a roddasant iddo ef bob vn, vn darn o arian, a phob vn, vn tlws o aur. A 'r Arglwydd a fendithiodd ddiwedd Iob yn fwy nai ddechreuad ef: canys yr oedd

ganddo ef bedair mîl ar ddêc o ddefaid, a chwe mîl o gamêlod, a mil o gyplau o ŷchen, a mil o assynnod. Ac yr oedd iddo ef saith o feibion, a thair o ferched. Ac efe a alwodd henw y gyntaf Iemima, a henw yr ail Cezia, a henw y drydedd Ceren-haphuc. Ac ni cheid gwragedd morr lân a merched Iob yn yr holl wlâd honno: ai tâd a roddes iddynt hwy etifeddiaeth ym mhlith ei brodyr. Ac Iob a fu fyw wedi hyn gant a deugain o flynyddoedd: ac a welodd oi feibion, a meibion ei feibion bedair cenhedlaeth. Ac Iob a fu farw yn hên, ac yn gyflawn o ddyddiau.

*Terfyn llyfr Iob.*

MARGINAL REFERENCES.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Chap. | I. 11 | refers to | Pen. 2. 5. |
| " | II. 2 | " | Pen. 1. 7. |
| " | II. 5 | " | Pen. 1. 11. |
| " | IIII. 18 | " | Pen. 15. 15. |
| " | V. 13 | " | 1 Cor. 3. 19. |

## EDITOR'S NOTE.

THIS reprint of Bishop Morgan's version of Job follows the original edition in all particulars, with these exceptions: (1) The type is different; (2) The headings of chapters and the divisions into verses have been abandoned; and (3) s has been substituted for ſ; r for ꝛ; and ? for ⁏ (see facsimile of chap. 38).

Should this little book meet with approval I shall add to it a companion volume of selections chiefly from the Psalms and the Book of Isaiah, together with a facsimile of the original title page, and a brief biography of the Translator. I hope young readers will take note of the language and orthography of Dr. Morgan, as we shall have to discuss them one day. However, for a first lesson let them learn (1) That before such terminations as *-ad*, *-aid*, *-ol*, *-on*, &c., an *i* should *not* be inserted when following a diphthongal syllable: for example, adeilad, anifeilaid, Rheidol, yscolheigon, &c., *not* adeil*i*ad, &c.; and (2) That bydd*wyf*, hau*wyf*, &c., as Indicatives and Imperatives are modern inventions, as are also *e*i gyd; *e*i hun, &c.

J. GWENOGVRYN EVANS.

*Oxford*, Xmas Eve, 1888.

# Welsh Classics for the People.

EDITED BY

J. GWENOGVRYN EVANS

HON. M.A., OXFORD.

IT is proposed to issue a Series of WELSH CLASSICS, beginning with Bishop Morgan's translation of the Book of Job, and going back by degrees to the XIII century. By this historical method it is hoped to demonstrate that one must look for the well of Welsh undefiled in the daily speech of the people rather than in the productions of the press or the utterances of the pulpit. The one borrows its sermons, the other its news, to such an extent from English sources that modern written Welsh is rapidly degenerating into an uncouth hybridism which is neither Welsh nor English. Such is the profundity of a borrowed idea that nothing but a borrowed idiom can give it full expression. And hence the bedridden state of Welsh as *written* to-day. Let us hope the malady is not incurable, and that a Kymric Bunyan will arise to manifest afresh the Literary excellence of *spoken* Welsh, which remains practically what it was in the days of the Mabinogion. In the

meanwhile it will be the object of the Welsh Classics to lead back to a purer style and to supply correct data to the students of language. However, nothing will be included which is not of the highest literary value both in matter and expression. Among the works contemplated are *Synwyr Pen Pob Kymro* from the unique copy at Shirburn Castle; *Llith a Ban*, from the only perfect copy; *Selections* from our earlier poets, such as Tudur Aled, Iolo Goch, L. G. Cothi, D. and R. Nanmor, D. ap Edmwnt; *The complete Works of D. ap Gwilym; Selections from early prose writings*, including the earliest translations of parts of the New Testament. It is intended to close the Series by a Welsh Grammar on scientific principles. But in order to carry out this scheme to a successful issue it will be necessary to find five thousand supporters.

Each volume will contain about 100 pages, and will be uniform in size with the book of Job. Price, in stiff paper covers, 1*s.* net, or in cloth, 1*s.* 6*d.* net.

*N.B.—A few copies will be printed on hand-made paper, price in paper covers 2s. 6d., net. Application for the hand-made paper copies must be made to the Editor direct.*

SERIES OF WELSH TEXTS
EDITED BY PROF. RHYS M.A. & J. GWENOGVRYN EVANS.

Ys-
pryd
Gwybod.

Ys-
pryd
Deall.

THE Series of WELSH TEXTS is printed in the best style at the *Clarendon Press*, and issued, by subscription only, at the rate of one volume a year. As each work is complete in itself, subscriptions are accepted for single volumes if received *before* the issue of the work required. Afterwards the Books are supplied in sets, but subscribers to a forthcoming work can obtain back volumes. All communications to be addressed to Mr. J. G. EVANS, M.A., 7 Clarendon Villas, Oxford.

'In the stories of the Mabinogion . . . we are made to feel that there is a world of undiscovered romance behind us, a world almost forgotten, leaving only an echo that bewitches us, and lures us on to lose ourselves in what is so remote.'—DAILY NEWS, *September*, 1887.

∴

'The very first thing that strikes one, in reading the MABINOGION, is how evidently the mediaeval story-teller is pillaging an antiquity of which he does not fully possess the secret; he is like a peasant building his hut on the site of Halicarnassus or Ephesus; he builds, but what he builds is full of materials of which he knows not the history, or knows by a glimmering tradition merely;—stones "not of this building," but of an older architecture, greater, cunninger, more majestical. In the mediaeval stories of no Latin or Teutonic people does this strike one as in those of the Welsh.'—MATTHEW ARNOLD.

# The Text

OF THE

# Mabinogion

AND OTHER WELSH TALES

FROM THE

# Red Book of Hergest

EDITED BY

JOHN RHŶS, M.A.

PROFESSOR OF CELTIC IN THE UNIVERSITY OF OXFORD

AND

J. GWENOGVRYN EVANS

'We hold the man who gives texts, not before easily accessible, in a handsome and convenient form, to be ten times worthier of the corporation of letters than the man who is perpetually pottering over questions of authorship . . . The possession of the text . . . is what is really worth something; the rest is, if not all, yet in great part, literary leather and prunella.'—*Saturday Review.*

Oxford

*ISSUED TO SUBSCRIBERS ONLY*

BY J. G. EVANS, 7 CLARENDON VILLAS

1887

# THE RED BOOK OF HERGEST,

VOL. I. Royal 8vo., pp. xxiv, 356,

CONTAINING THE TEXT OF

## THE MABINOGION, ETC.

WITH FIVE FACSIMILE PAGES.

*Limited to* 500 *copies, and numbered as follow:—*

Nos. 1–80, *Patrons' Edition,* on hand-made paper, half-morocco, gilt top, 42*s*. 3 copies only are left.

" 81–230, *Library Edition,* on toned paper, half-morocco, gilt top, 31*s*. 6*d*.

" 231–477, *Students' Edition,* on antique laid paper, cloth, 21*s*.

*N.B.—This work cannot now be had except by those willing to subscribe for the* Second Volume *of the Red Book of Hergest, which contains the* BRUTTS (see pp. 9–10).

'For thoroughness and completeness this edition of the Mabinogion takes a first rank among similar publications of ancient Texts.'—ATHENÆUM, *October* 29, 1887.

∴

'The Text aims at being an exact reproduction of the Manuscript. We have been at the pains to test this by collating several pages of the volume, taken at random, with the original MS. We are happy to be able to report that we have not found a single error, and that the reproduction, so far as we have tested it, seems absolutely faithful. The philologist and historian can set to work with full confidence that the material on which they have to work is wholly trustworthy.'—SATURDAY REVIEW, *July* 30, 1887.

∴

'This reproduction is certainly remarkably complete, and there are few things of the sort to rival it, except perhaps the transliterations in the palæographical publications of the British Museum. . . Students will not be able to praise it too highly.'—Y CYMMRODOR, 1887.

∴

'The system followed by Messrs. Rhŷs and Evans . . . has produced an edition which if the MS. were to perish would make up for the loss.'—ACADEMY, *January* 28, 1888.

'It is destined to depose all other [editions] that have gone before it.'—RED DRAGON, *April*, 1887.

.˙.

'No thorough scientific research into the history of early Britain can efficiently be carried out without laying these Welsh Texts under contribution, and consequently no public library which has a reference department can dispense with the Series.'—ATHENÆUM, *October*, 1887.

.˙.

'Finally, the book is well printed, and well got up, and on good paper even in the less expensive "Students' Edition."'—Y CYMMRODOR, 1887.

.˙.

'Le but que se sont proposé les éditeurs est, non pas de donner une édition critique, mais de reproduire le texte aussi exactement qu'on le peut avec des caractères typographiques et sans recourir à la photographie . . . le plan choisi a été admirablement exécuté.'

.˙.

'Leur livre est de plus un chef-d'œuvre typographique qui fait honneur à la *Clarendon Press*.'—REVUE CELTIQUE, 1887–88.

7

# Facsimile

OF THE

# Black Book of Carmarthen

REPRODUCED BY THE

## Autotype Mechanical Process

*WITH A PALÆOGRAPHICAL NOTE*

BY

J. GWENOGVRYN EVANS
HONORARY M.A., OXFORD

Oxford
*ISSUED TO SUBSCRIBERS ONLY*
BY J. G. EVANS, 7 CLARENDON VILLAS
1888

## FACSIMILE OF THE BLACK BOOK OF CARMARTHEN.

*Limited to* 250 *copies, and numbered as follow:—*

Nos. 1–100, Royal 8vo., half-morocco, gilt top, 52*s.* 6*d.*
" 101–250, Demy 8vo., cloth, 33*s.*

*N.B.—The few copies remaining can be had only by those who are willing to subscribe to the Series, or to a forthcoming volume containing the printed text of the Black Book of Carmarthen, etc.*

'The work has been admirably done. The . . . editors merit the deepest gratitude of all Celtic scholars for the truly scientific work they are doing. . . And from an artistic point of view their reproductions are gems for the most fastidious of bibliophiles.'—ATHENÆUM, *October* 20, 1888.

⁂

'The beautiful facsimile before us . . . is executed by the autotype process, and reproduces not only the written matter of the MS., but the exact appearance of its ancient pages with all the stains, creases, flaws, and other marks of time faithfully represented. The tint of the prints being very similar to that of a vellum page, the reader practically has the original before him . . . The pigment used in autotyping being carbonaceous, the reproduction is permanent.'—Y CYMMRODOR, 1888.

# The Text

OF

# The Brutts

FROM THE

# Red Book of Hergest

EDITED BY

JOHN RHŶS, M.A.

PROFESSOR OF CELTIC IN THE UNIVERSITY OF OXFORD

AND

J. GWENOGVRYN EVANS

HONORARY M.A., OXFORD

'Study our manuscripts . . . . Thence write our annals.'
JOHN DONNE.

'The most eloquent of modern historical discourses can after all be nothing more than a comment on a text.'—EDWARD A. FREEMAN.

Oxford

*ISSUED TO SUBSCRIBERS ONLY*

BY J. G. EVANS, 7 CLARENDON VILLAS

1889

# THE RED BOOK OF HERGEST,

Vol. II. Royal 8vo., pp. about 500,

CONTAINING THE TEXTS OF

**DARES PHRYGIUS, GEOFFREY'S BRUTT, BRUTT Y TYWYSSOGION, and BRUTT Y SAESON.**

WITH FACSIMILES, PREFACE, AND AN INTRODUCTION BY PROF. RHŶS DEALING SPECIALLY WITH GEOFFREY'S BRUTT.

*Limited to* 500 *copies, and numbered as follow :—*

Nos. 1–80, *Patrons' Edition*, on hand-made paper, half-morocco, gilt top, 42*s*.

„ 81–230, *Library Edition*, on thick toned paper made of linen rags specially for this work, half-morocco, gilt top, 31*s*. 6*d*.

„ 231–480, *Students' Edition*, on thick deckled-edge paper, cloth, 21*s*.

Owing to the length of this volume its price will be raised when the subscription list closes.

*N.B.—In order to obtain a copy of this work it is not compulsory to take the other volumes of the Series, provided the names of intending subscribers are received before the day of issue: afterwards it cannot be had separately. However, subscribers to the 'Brutts' can, if they please, obtain copies of the 'Mabinogion,' &c.* (*see pp.* 4 *and* 5).